# GWELEDIGAETHEU
# Y
# *Bardd Cwsc*

GAN

ELLIS WYNNE

DAN OLYGIAETH

J. MORRIS JONES

BANGOR: JARVIS & FOSTER. MDCCCXCVIII

*I John Rhys, Ysw., M.A., LL.D.*

*Pennaeth Coleg Jesu*

*ac Athro Cadeiriog yr Ieithoedd Celtaidd*

*ym Mhrifysgol Rhydychen*

*o barch a dyled i'w ddigymar ddysg*

*y cyflwynir y Gyfrol hon*

*gan y Golygydd*

# CYNNWYS.

# RHAGYMADRODD.

GANWYD Ellis Wynne (canys felly yr ysgrifennai efe ei enw) yn y flwyddyn 1671, yn y Las Ynys, plasdy bach neu ffermdy tua milltir a hanner o Harlech. Unig fab oedd Ellis i Edward Wynne, a ddeilliai o deulu Glyn Cywarch,[1] ac a briodasai etifeddes y Las Ynys. Ni wyddys ym mha le y derbyniodd efe ei addysg fore; ond aeth i Rydychen yn un ar hugain oed, fel y dengys y cofnod a ganlyn:

> WYNNE, ELLIS, s. Edw. of Lasypeys, co. Merioneth, pleb. Jesus Coll. matric. 1st March 1691-2 aged 21; rector of Llandanwg 1705, and of Llanfair-juxta-Harlech (both) co. Merioneth 1711.[2]

Nid ystyrrid gradd yn beth mor bwysig i fyfyriwr yr adeg honno; a cheid llawer yn gadael y prifysgolion heb yr un. Felly yr ymddengys y gwnaeth Ellis Wynne, canys ni cheir neb o'r enw yn rhestr graddolion Rhydychen o'r flwyddyn yr aeth efe yno

[1] Td. 54. Nid yw Glyn Cywarch nepell o'r Las Ynys. Gweler td. lvi.

[2] Foster's *Index Eccles.* Amlwg yw mai gwall am Lasynys yw "Lasypeys."

hyd pan gymerth rhyw Ellis Wynne ei B.A. yn 1718 a'i M.A. yn 1722. Ond gan fod y gwr o'r Las Ynys yn 47 oed yn 1718, nis gall yn hawdd mai efe oedd hwn.

Dywed y traddodiad mai cyfreithiwr oedd Elis Wyn ar y cyntaf, a'i fod mewn "gwth o oedran"[1] pan drodd yn offeiriad; ac mai Dr. Humphrey Humphreys, Esgob Bangor, a chyfathrachwr iddo yntau, ar ol gweled rhagoriaeth ei gyfieithiad o *Holy Living* Jeremy Taylor,[2] a'i perswadiodd i gymryd urddau. Dywedid ddarfod ei urddo 'n ddiacon ac yn offeiriad yr un dydd (gan yr Esgob Humphreys ei hun, medd un ysgrifennydd,[3]) a'i gyflwyno drannoeth i fywioliaeth Llanfair Harlech, a rhywbryd wedi hynny i fywioliaethau Llandanwg a Llanbedr. Cymharer y traddodiad â'r cofnod a ddyfynnwyd uchod. Yn ol y cofnod, bywioliaeth Llandanwg a gafodd efe gyntaf, sef yn 1705, a Llanfair yn 1711; a chadarnheir hyn gan gofnodion y plwyfi.[4] Nid tebyg chwaith mai Dr. Humphreys a'i hordeiniodd, canys symudasai 'r Dr. o Fangor i Henffordd yn 1701. Ond ar wahân i'r pethau hyn, fe ddichon fod y traddodiad yn weddol gywir. Yr oedd Elis Wyn yn 34ain oed yn 1705, ac er nad oedd felly mewn "gwth o oedran,"

[1] *B. Cwsg*, 1853, td. vii.

[2] Ashton, *Hanes Llen. Gymr.*, td. 111.

[3] *Llyfr. y Cymr.*, td. 273.

[4] Gweler *Cofnodion* isod td. lvi.

eto yr oedd gryn dipyn dros yr oed yr arferid ymgymeryd â'r weinidogaeth. Pair hynny hefyd ei bod nid yn unig yn bosibl, ond yn bur debyg, iddo dderbyn urdd diacon ac offeiriad yr un dydd.

Priododd yn gyntaf Lowri Wynne o Foel y Glo, Llanfihangel y Traethau; dywedir mai ei gyfnither oedd hi, merch Rhys Wyn, brawd ei dad.[1] Ym Medi 1698, y priodasant, yn Eglwys Llanfihangel; ond bu Lowri Wyn farw cyn pen y flwyddyn ar enedigaeth plentyn. Claddwyd y fam a bedyddiwyd y mab yn Llandanwg yr un dydd, y 10fed o Orffennaf, 1699; a chladdwyd y baban, Edward, cyn cyrraedd o hono 'i ddwyflwydd oed.[2]

Priododd Elis Wyn yr ail waith Lowri Llwyd o'r Hafod Lwyfog, Bedd Gelert, yn ol cofrestr Llanfair (o Dal y Treiddun medd copi Bangor), ddygwyl Valentin, 1702. Bu iddynt naw o blant;[2] a bu farw Lowri yn Awst, 1720. Bu yntau farw yng Ngorffennaf, 1734, a chladdwyd ef ar yr 17eg o'r mis hwnnw dan yr allor yn Eglwys Llanfair.

Heb gyfrif ei lafur fel ysgrifennydd, dyna 'n fyr gymaint ag a wyddys am helynt ei fywyd. Diameu mai 'r rheswm fod yr hanes mor brin ydyw nad *oedd* fawr o hanes i'w draethu am dano. Bugeiliodd ei braidd

[1] *Taliesin* ii. 276; *Brython* v. 130.
[2] Gweler *Cofnodion* isod, td. lix, lxi.

ar ei dreftadaeth ei hun, a threuliodd fywyd syml digyffro yn eu plith; a gwyn ei fyd y gwr (fel y wlad) sydd heb hanes.

Trown, gan hynny, at ei ysgrifeniadau. Yn *Llyfryddiaeth y Cymry*, rhoddir dan y flwyddyn 1700 lyfr a elwid "Help i Ddarllen yr Ysgrythur Lan, &c. . . . Wedi ei gyfieithu . . . Gan E. W., Gweinidog Eglwys Loegr," a dywedir mai Ellis Wynne oedd yr E. W. hwn. Ond, medd yr awdwr, "Ym mhen tua deugain mlynedd eto ceir E. W. arall [Edmund Williams, mae 'n debyg, medd y golygydd] yr hwn oedd offeiriad duwiol iawn yng nghymmydogaeth Pont y Pwl o yspryd ac arferion Methodistaidd yn yr Eglwys Sefydledig." Y tebyg yw fod amseriad y llyfr yn anghywir ac mai 'r Edmund Williams hwn oedd yr E. W. a'i cyfieithodd. "Yn y Mwythig, gan Stafford Prys" yr argraffwyd ef. Rhydd awdwr y *Llyfryddiaeth* lyfr arall o argraffwaith Stafford Prys dan y flwyddyn 1711, heb sail amgen na bod y rhagymadrodd wedi ei arwyddo yn y flwyddyn honno; sail rhy wan o lawer i ddodi Stafford Prys mor gynnar, gan mai o 1758 hyd 1780 yr argraffai efe. Hawdd iawn y gallai 1700 fod yn wall am 1760; ond hyd yn oed ped fai 'n bosibl i 1700 fod yn gywir, nid Elis Wyn oedd y cyfieithydd felly chwaith, canys nid oedd efe 'n "Weinidog Eglwys Loegr" hyd 1705.

Y gwaith cyntaf a gyhoeddodd Elis Wyn oedd y cyfieithiad a grybwyllwyd ar y dechreu o *The Rule and Exercises of Holy Living*, gan yr Esgob Jeremy Taylor. Ymddangosodd hwn yn 1701 dan y teitl :

> RHEOL BUCHEDD SANCTAIDD yn dangos y MODDION a'r ARFEU i ynnill pob *Grâs* a Meddyginiaeth rhag pôb rhyw *Bechod*, a Myfyrdodau cymmwynascar i wrthwynebu pob *Profedigaeth*. Ynghyda GWEDDIAU yn cynnwys Hôll Ddyledswydd Cristion. A'r Rhannau o Ddyfosiwn wedi eu cymmwyso at bôb Achosion, a'u cyfansoddi at bôb Angenrheidieu. Gan JER. TAYLOR, D.D., o'r deunawfed Argraffiad yn *Saesonaeg*. Argraphwyd yn llundain 1701.

Cyflwynir y cyfieithiad "Ir Parchediccaf Dâd yn Ghrîst Humphrey, Arglwydd Efcob *Bangor*;" ac wedi 'r cyflwyniad ceir "Rhagymadrodd" yn annerch yr "*Anwyl Gariadus Gymro*;" yna englynion "*At Gyfieithydd* RHEOL Buch. Sanct." gan "*Edm. Prys*, Ficar Clynog Fawr yn Arfon;" a llinellau Lladin iddo gan "Fulco Pricæus, *Lhanlhyvniæ Parochus Arvonensis*," sef Ffoulk Price, Llanllyfni, ac englynion gan Elis Wyn "At Ddarllenydd RHEOL B. Sanctdd." Argraffwyd (ond nid yn gywir iawn) yr englynion, y cyflwyniad, a rhan o'r rhagymadrodd yn y *Traethodydd* am 1851, td. 323-325; ac afraid fe allai oedd eu hadargraffu yma; ond gellir dyfynnu 'r paragraff olaf o'r "Rhagymadrodd" fel y gweler amlyced ynddo ydyw ol y llaw a ysgrifennodd wedyn *Weledigaetheu y Bardd Cwsc*:

Pan gynnygier i ti *Arfau* at ynnill rhyw Râs, neu i attal rhyw Fai, ymorol pa un o honynt sy gymmwysaf i ti ac i'th achosion, a dewis hwnnw yn hytrach na'r lleill; modd yr ymrwymech wrth hynny mewn celfyddyd ysprydol a chadwraeth gwiliadŵrus ar dy enaid. O blegid megis mai trîn yr Enaid yw 'r hwsmonaeth fuddiolaf ôll, felly y rwystrusaf ôll ydyw; lle mae 'r gofalon a'r gofynion yn amlaf ôll, a'r peryglon a'r damweiniau yn fwyaf ac yn daeraf ôll. Ac mae cadw Enaid yn fwy camp a chywreindeb nac achub Tyddyn o dîr, neu iachau Corph clwyfus. Cydnebydd ditheu â'r Gwirionedd mawr hwn; trwy galedrwydd synhwyrol a diwydrwydd dyfalbarhaus yn holl *Foddion Grâs*: Ac felly chwanegi wobr y Gwrda a'u casclodd, ac y teli i minneu bwyth fy llafur yn eu cyfieithu er dy fwyn, â'm brŷd ar ogoniant Duw, a chyssur amserol a Gwynfyd tragwyddol i'th enaid titheu, yr hyn yw gwîr ewyllys a difrifol ymgais dy Gydwladwr carediccaf

*Ell. Wynne.*

Yn 1703 y cyhoeddwyd *Gweledigaetheu y Bardd Cwsc;* ac yn 1710 ymddanghosodd argraffiad unplyg o'r *Llyfr Gweddi Gyffredin* wedi ei ddiwygio gan Elis Wyn a'i gymeradwyo gan Esgobion Henffordd, Llanelwy, Bangor, Llan Daf, a Thy Ddewi. Yn 1755, cyhoeddodd ei fab ieuengaf, Edward Wynne, lyfr a elwid *Prif Addysg y Cristion*, yn cynnwys "Esponiad byrr ar y Catecism o waith y Parchedig Mr. Ellis Wynne o Lasynŷs Person Llanfair," gydag atodiad yn cynnwys "Hymnau a Charolau Duwiol, o waith Mr. Ellis Wynne o Lasynŷs."[1] Ymddanghosodd ei gynghaneddiad o Salm cxlviii.

[1] Ashton, *Han. Llen. Gymr.*, td. 117.

yn y trydydd rhifyn o *Drysorfa Gwybodaeth* yn 1770, a thrachefn yn yr erthygl a grybwyllwyd o'r *Traethodydd*. Dyfynnwn un pennill er mwyn dangos ei ddull a'i fesur :

Brenhinoedd daear gron,
A'r bobloedd oll ynghyd,
Pob twysog sydd ar hon,
Holl swyddwyr, barnwyr byd,
Pob llanc, gwell yw,
Pob morwyn glau,
Pob hen, pob iau,
Addolwch Dduw.

Wrth sôn am emynau a salmau, fe ddylid crybwyll mai Elis Wyn ydyw awdwr yr emyn adnabyddus, a ymddanghosodd gyntaf yn Llyfr Gweddi 1710:

Myfi yw'r Adgyfodiad mawr,
Myfi yw gwawr y bywyd ;
Caiff pawb a'm cred, medd f' Arglwydd Dduw,
Er trengi fyw mewn eilfyd.[1]

Dyna gymaint ag a gyhoeddwyd o weithiau Elis Wyn; a phe na buasai *Gweledigaetheu y Bardd Cwsc* yn eu mysg, nis gellid ei restru 'n uwch awdwr na Rowland Vaughan, na chyfuwch a Theophilus Evans; ond fe'i dyrchefir gan y llyfryn hwn uwchlaw pob ysgrifennydd rhyddiaith Gymraeg yn yr un o'r ddwy ganrif y bu efe yn oesi ynddynt.

Eithr teg yw ymofyn pa gyfran o'r glod am y gwaith sy'n deilwng iddo ef; oherwydd hysbys ddigon yw ddarfod iddo fenthycca

[1] Eto, td. 116, *Llyfr. y Cymr.*, td. 289.

cryn lawer, yn enwedig oddi ar yr Yspaenwr Quevedo. Ystyriwn yn gyntaf ei ddyled i'r awdwr hwn.

Ganwyd Don Francisco de Quevedo Villegas ym Madrid yn 1580, a bu farw yn 1645. Ymddanghosodd ei *Sueños*, neu Weledigaethau, gyntaf ym Madrid yn 1649; a chyhoeddwyd cyfieithiad Saesneg o honynt gan Syr Roger L'Estrange, dan y teitl "The Visions of Dom *Francisco* de *Quevedo* Villegas, Knight of the Order of St. James. Made English by R. L. London, Printed for *H. Herringman* at the Sign of the *Blew Anchor* in the Lower walk of the *New Exchange.* 1667."[1] Cyrhaeddodd ei drydydd argraffiad yn 1668, a'i bedwerydd (" *The Fourth Edition Corrected* ") yn 1671. Nid yw 'r cyfieithiad yn agos i lythrennol; oblegid newidiodd y cyfieithydd lawer o frawddegau Quevedo "i'w cyfaddasu i chwedleuaeth a chwaeth ei oes, trwy gyfeiriadau hollol Seisnig a lleol."[2] Y mae 'n ddiau mai 'r cyfieithiad hwn a ddefnyddiodd Elis Wyn; ni wyddys pa argraffiad, ond nid yw hynny fawr o bwys, gan fod y pedwerydd yn dilyn y cyntaf dudalen am dudalen, er nad bob amser air yn air. Y mae copi o'r ddau argraffiad hyn o fy mlaen, y cyntaf yn anghyflawn; ac

[1] Gwelir fod Silvan Evans a Mr. Ashton yn anghywir wrth ei amseru 'n 1668.

[2] Dict. Nat. Biog., xxxiii. td. 127.

felly o'r pedwerydd y codais y dyfyniadau. Ond hyd y gellir cymharu 'r darnau hyn yn y ddau gopi, nid oes brin lythyren o honynt yn amrywio. Saif yr un rhifnod am y tudalen hefyd; a chredaf eu bod yn cyfateb yn y *saith* argraffiad cyntaf.

Y mae yn y gwaith hwn saith weledigaeth, a enwir fel y canlyn: (1) *The First Vision of the Algouazil* (or Catchpole) *possest*, yn hon ceir hanes ceisbwl wedi ei feddiannu gan gythraul, a chonsurwr yn peri i'r cythraul trwy enau'r ceisbwl adrodd hanes uffern; (2) *The Second Vision of Death and her Empire;* (3) *The Third Vision of the Last Judgment;* (4) *The Fourth Vision of Loving Fools;* (5) *The Fifth Vision of the World;* (6) *The Sixth Vision of Hell;* (7) *The Seventh Vision of Hell Reformed.* Fe welir fod y bumed, yr ail, a'r chweched yn cyfateb o ran teitl i dair gweledigaeth y Bardd Cwsc.

Wrth chwilio gweledigaeth gyntaf Elis Wyn, ni cheir ei fod wedi benthyca dim o bwys oddiar L'Estrange ond y darn am Lys Rhagrith a'r cynhebrwng rhagrithiol, td. 27-31. Gellir cymharu dechreu'r adran hon yn y ddau, er gweled fel y cymer Elis Wyn y drychfeddwl, a'i wisgo'n well yn ei iaith ei hun:

| | |
|---|---|
| It is call'd, said he, *The Hypocrites Walk;* and it | Hwn, ebr ef, yw Llŷs ail Ferch *Belial*, a elwir |

crosses the world from one Pole to t'other. It is *large*, and *Populous;* for I believe there's not any man alive, but has either a *House* or a *Chamber* in't. *Some* live in't for *altogether;* *Others* take it only in *Passage;* for there are *Hypocrites* of several sorts; but all Mortals have, more or less, a *Tang* of the *Leaven.* p. 141.

*Rhagrith:* Yma mae hi'n cadw ei Hyscol, ac nid oes na Mâb na Merch o fewn yr holl Ddinas, na fu'n 'Scolheigion iddi hi, a rhan fwya'n yfed eu Dysc yn odiaeth, fel y gwelir ei gwersi hi wedi mynd yn ail natur yn gyfrodedd trwy eu holl feddylieu, geirieu a gweithredoedd agos er ein (yn) blant. Td. 27-28.

Y mae gan L'Estrange ddau gynhebrwng, gwr gweddw sy'n galaru yn y cyntaf, a gwraig weddw yn yr ail. Gwnaeth Elis Wyn hwynt yn un; ac yma eto dylid gosod paragraff cyntaf y ddau awdwr ochr yn ochr er dangos fel y gall athrylith droi'r cyffredin yn benigamp; lle caffo Elis Wyn faen gan Syr Roger, fe'i dyry i ninnau megis delw gerfiedig:

The first remarkable thing I saw was a long *Funeral Train* of *Kindred*, and *Guests*, following the *Corps* of a Deceas'd Lady, in Company with the Disconsolate *Widdower;* who marcht with his Chin upon his Breast; a sad and a heavy pace; muffled up in a Mourning Hood, enough to have stiffled him, with at least Ten yards of Cloth upon his Body, and no less in

Wedi i mi spio ennyd ar ffalsder pob cwrr o'r Adeilad, dyma *Ganhebrwng* yn mynd heibio, a myrdd o wylo ac ochain, a llawer o ddynion a cheffyleu wedi eu hulio mewn galarwiscoedd duon; ymhen ennyd, dyma'r druan *Weddw*, wedi ei mwgydu rhag edrych mwy ar y byd brwnt yma, yn dyfod tan leisio 'n wann, ac och'neidio 'n llêsc rhwng llesmeiriau: Yn wîr, ni

his Train. Alack, Alack! cry'd I, that ever I should live to see so dismal a spectacle. P. 147.

fedrais inneu nad wylais beth o dosturi.—Td. 28.

Cymerwyd esboniad byr yr Angel ar y cynhebrwng o sylwadau meithion Hen Wr Syr Roger ar y ddau gynhebrwng. Wedi'r cynhebrwng yn y *Bardd Cwsc* daw priodas y Gwr mawr. Elis Wyn piau'r briodas; ond cafodd y disgrifiad o'r gwr mawr gan L'Estrange, megys :

There are *Banquiers*, *Jewellers*, *Scriv'ners*, *Brokers*, *Mercers*, *Drapers*, *Taylors*, *Vintners*; and these are properly the *Staies*, and *Supporters* of *this animated Machine*. p. 163.

Ei Farsiandwyr, ei Daelwriaid, ei Gryddion, a'i Grefftwyr eraill ef, au huliodd ac a'i maentumiodd e'n yr holl wychder mawr hwn. Td. 31.

Heblaw 'r darnau hyn o bumed weledigaeth Quevedo, cymerodd Elis Wyn un frawddeg o'r bedwaredd, sef :

*Some* were practising in the *Glass* the *Gracious Smile*, the *Rowle* of the *Eye*, the *Velvet Lip*, &c. P. 118.

eraill wrth y Drŷch er's teir-awr yn ymbincio, yn dyscu gwenu, . . . yn gwneud munudie 'ac ystumieu. Td. 14.

A chyfieithodd ddwy neu dair brawddeg o'r seithfed :

If you are *Religious*, and frequent the *Church*, and the *Sacrament*; You're an *Hypocrite*; And *without this*, you're an *Atheist*, or an *Heretick*. If you are *Gay* and

Os byddi Duwiol yn cyrchu i'r Eglwys a'r Allor, gelwir di'n Rhagrithiwr, os peidi, dyna di'n Anghrist, ne' 'n Heretic: Os llawen fyddi, gelwir di'n wawdiwr : Os

*pleasant*, you pass presently for a *Buffon ;* and if *Pensive*, and *reserved*, you are taken to be *soure*, and *censorious*. P. 308.

distaw, gelwir di'n gostog gwenwynllyd. Td. 38.

Nid oes yng ngweledigaeth gyntaf y bardd ddim arall wedi ei fenthyca ond rhyw ymadrodd neu ddau fel "pob *côch* a *gwyn* tan yr haul" (td. 26), o "And the best Red and White in Nature was in her cheeks" (p. 165); ac nid yw'r cyfan yn bedwar tudalen o'r pump a deugain sydd yng ngweledigaeth Elis Wyn.

Yng ngweledigaeth Angeu, cymerwyd un ymadrodd ar y dechreu o ddechreu pedwaredd weledigaeth Quevedo :

when it was much better being in a *Warm Bed*, with a good *Bed-fellow*, than upon a *Biere* in the *Church-Yard*. P. 113.

pan oedd hi 'n. . . . well mewn stafell glŷd gydâ chywely cynnes, nac mewn amdo ymhorth y fonwent. Td. 54.

Cafwyd yr angeuod bach hefyd o Weledigaeth angeu Quevedo, ond nid cyfieithu y mae Elis Wyn ychwaith, eithr aralleirio a gwellhau. Awgrymwyd yr ymgyrch â Myrddin a Thaliesin gan gyfarfyddiad Quevedo â'r *Necromancer* a *Nostradamus*. Y mae Nostradamus hefyd yn holi ystyr rhyw rigymau proffwydoliaethol a briodolir iddo, fel yr hola Taliesin ystyr ei "ddifregwawd" yntau; ond wrth gwrs y mae'r ymddiddan a'r dehongliadau a'r cyfan yn eiddo Elis Wyn—ni fenthyciodd ond y syniad am dano.

Cafwyd y rhai a gwynai o herwydd angeu disyfyd (td. 70) a llawer o'r atebion a roir iddynt, o chweched weledigaeth Quevedo (p. 213); ond gymaint rhagorach ydyw'r atebion yng ngeneu *Angeu* gan Elis Wyn, nag yng ngeneu "a Devil" gan Syr Roger. Awgrymwyd y brenin a gollasai'r ffordd i Baradwys (td. 68) gan y bobl a dybiai mai 'n y Purdan yr oeddynt, a hwythau yn Uffern (p. 318). Yn olaf, cymerwyd *Rhywun* a'i wahanol enwau, o *Some-body* L'Estrange a'i wahanol enwau yntau.

Yng ngweledigaeth Uffern cymerwyd y "*Gwae fi na baswn!*" pobl "yr edifeirwch rhyhwyr" (td. 92), o "Oh that I had's!" a "*late Repentants*" Syr Roger (p. 209); a thrachefn y rhai "a ddywedeint, *Mae Duw 'n drugarog*, ac yn well na'i air, ac ni ddamnia'i greadur fyth am fatter mor lleied" (td. 93), o'r "such as had ever in their Mouths, *God is Merciful, and will Pardon me*" (p. 209). Cymerwyd y rhai sy 'n "achwyn mwy na neb heb na phoen na chythreul ar eu cyfyl" (td. 96), o'r "*Fellow* sitting in a *Chair, all alone;* never a *Devil* near him; No *Fire* or *Frost* . . . or any thing else, that I could perceive to torment him" (p. 222); ond nid Heretic yw hwn gan Syr Roger ychwaith.

Benthyciwyd hanes yr ysgweir a'r marchog (td. 96-98), o hanes y "two men in Gentile habits" gan L'Estrange (p. 198-205);

ac y mae Elis Wyn yma yn dilyn ei ragflaenydd yn agosach nag arfer ; megys :

At every word they spoke, a matter of Seven or Eight Thousand Devils burst out a Laughing as they would have crackt their Sides (p. 199).

Am bob gair y fâth hyll grechwen a phedfasei yno bumcant o'r Cythreuliaid ar fwrw eu cyrn gan chwerthin (td. 96).

'twas a strange thing, me thought, to hear them so merry in Hell" (p. 198).

yr amheuthun mawr o *wenu* yn Uffern (td. 96).

and that the Devils Mirth made the Gentlemen angry (p. 199).

ac nid oedd y llawenydd ond digio'r gwŷr boneddigion (td. 97).

This Usage (says he) may be well enough for a *Parchment Gentleman* (p. 201).

Mae hynny 'n abl, ebr y llall, i *Scweir* o hanner gwaed (td. 97).

if you have brought no better Plea along with you, than the Antiquity of your House, you may e'en follow your Camerade, for ought I know, for *we find very few ancient Families, that had not some Oppressour or Vsurper, for their Founder*; and they are commonly continued by the same means, they were begun (p. 202).

Os eich hynafiaid a'ch hên Stent yw'r cwbl sy gennych iw ddadleu gellwch witheu gychwyn yr un ffordd, ebr un o'r Diawliaid. Oblegid nid ym ni 'n cofio'odid o hen Stât fawr, nad rhyw Orthrymmwr, neu Fwrdriwr, neu Garnlleidr a'i dechreuodd; a'i gadel i rai cyn drawsed a hwytheu (td. 97).

Ni chaniata gofod ddyfynnu rhagor, ond gellir dywedyd yn fyr fod yr oll o dudalen 98, yn rhydd-gyfieithiad neu aralleiriad o dudalennau 202 a 203 yn llyfr Syr

Roger; ac y mae rhestr y rhai a ddechreuodd ddwyn arfau (td. 99) wedi ei chymryd o'r rhestr a geir yno (p. 205), sef, "*Cain; Cham; Nimrod; Esau; Romulus; Tarquin; Nero; Caligula; Domitian; Heliogabalus.*" Awgrymwyd y *Mursennod* ar dud. 99, gan "*Ill-favoured Women*" L'Estrange (p. 220).

Yr un driniaeth a ga 'r Potecariaid yn y Bardd Cwsg (td. 104) ag yng ngweledigaethau Quevedo (p. 215). Anaml, yn ol Elis Wyn, y deuai'r *Llafurwyr* i Uffern (td. 122); a dywed L'Estrange am y tlodion, "I find none of their names in our Books" (p. 23). Cafodd Elis Wyn y drychfeddwl am y gwrthryfel mawr yn Uffern (td. 124) o ddechreu seithfed weledigaeth Quevedo; a chyfetyb "*Athrodwr* a *Medleiwr*, a *Checryn cyfreithgar*," ganddo ef i'r "*Monstrous Talker*, *Medling Undertaker*, and an *old Bawd*," gan L'Estrange. Eto, lle ceir plant y cybyddion yn rhegu eu tadau gan Elis Wyn (td. 125), ceir y tadau'n edifarhau gan Syr Roger (p. 207); a lle mae'r cybydd gan y naill yn cyrraedd Uffern "hyd lwybrau tostach nac sy 'n arwain i Deyrnas yr Happusrwydd" (td. 136), gan y llall y Rhagrithiwr sy'n cymryd "*more pains to be damn'd, then a Good Christian does to compass his Salvation*" (p. 179). Yn olaf dyry Elis Wyn enwau i'r cythreuliaid sy'n cynrychioli'r gwahanol ddrygau; ond gan Quevedo y cafodd y syniad am danynt ac am y ddadl

rhyngddynt, a dafarniad Lucifer arni,—"*Hawddfyd* ynteu yw fy *Rhaglaw* ddaiarol i," (td. 147): "Respect to the Lady *Prosperity*, and obey her as the *most mighty*, and *Supreme Governess of these our Dominions*" (p. 336).

Dyna, mi dybiaf, faint dyled Elis Wyn i Quevedo a'i gyfieithydd. Y mae rhyw ddegwm go helaeth o'r Bardd Cwsc yn efelychiad neu aralleiriad o ddarnau o lyfr Syr Roger, a llawer peth heb law hyn wedi ei awgrymu ganddo. Pa gyn belled, ynte, y gellir galw Elis Wyn yn llenlleidr? Cymherir ei ddyled i Quevedo yn gyffredin â dyled Virgil i Homer; gellid, yn llawer mwy priodol, ei chyffelybu i ddyled Dante i *Weledigaeth* Alberico, a hen weledigaethau ereill, lle ceir lliaws o'r golygfeydd sydd yn yr *Inferno*. Ond o ran hynny, nid oes un prifardd nac awdwr na chafodd feddyliau ac ymadroddion gan y rhai a aeth o'i flaen. "Beth a fyddai 'n aros i mi," medd Goethe, "petai 'r gelfyddyd hon o fenthyca yn difwyno athrylith?" Ail-ganu hen gerddi a wnaeth Burns; ail adrodd hen chwedlau a wnaeth Boccaccio; benthyciodd Shakespeare oddiar yr hen ddramadwyr, a Milton oddiar bawb. Pa beth felly yw llenlladrad? Dyry Milton i ni yn ei Εἰκονοκλάστης faen prawf: "Such kind of borrowing as this, if it be not bettered by the borrower, among good authors is accounted plagiary." Nid wyf

yn tybied fod neb cymwys i farnu a wad na saif Elis Wyn y prawf hwn. Gellir y rhan amlaf ddywedyd am dano fel y dywedodd Landor am Shakespeare, ei fod yn "fwy gwreiddiol na'r gwreiddiol; fe anadlodd ar gyrff meirw, ac a'u dug yn fyw."

Nid oes dim sy'n fwy cyffredin yn hanes llenyddiaeth na gweledigaethau arwyddluniol neu ddychmygol o'r byd hwn a'r byd tu hwnt i'r llen. Yn y llyfr hynaf a fedd y byd, sef Llyfr y Meirw, a ysgrifennwyd yn yr Aifft lawer canrif cyn geni Moses, ceir hanes pwyso'r galon yn y glorian ger bron brawdle Osiris, a disgrifir meusydd gwynfa, a'r diffeithleoedd geirwon sydd ar ffordd yr enaid yno. Heb sôn am weledigaethau'r Ysgrythur Lân, ac yn bennaf Ddatguddiad Ioan, gellir dywedyd fod engreifftiau hefyd yn y Koran, ac feallai ym mhob llyfr a honna fod yn rhyw fath ar feibl, o Lyfr y Meirw hyd lyfr Mormon Joseph Smith. Gellir crybwyll o blith gorchestion llên ymweliad Ulysses â gwlad y cysgodion yn Homer, ac ymweliad y bardd â Hades yn Virgil; gweledigaeth fawr Dante o uffern a phurdan a pharadwys; caniad Milton am nef ac uffern a chwymp angel a dyn; a breuddwyd Bunyan am Daith y Pererin. Ymhlith gweithiau llai enwog y mae *Tesoretto* Brunetto Latini, gweledigaethau Alberico a Siarl Foel, a'r weledigaeth a elwid Breuddwyd Pawl Ebostol, ac a gyfieithwyd

i'r Gymraeg tua dechreu 'r bedwaredd ganrif ar ddeg;[1] y mae amryw gopïau ar gael o'r cyfieithiad, a thebyg iawn fod Elis Wyn yn gydnabyddus ag ef. Mor lliosog yn y canol oesoedd oedd y cyfryw weledigaethau o uffern fel yr aeth y testun yn un cyffredin i'r *jongleurs* wario 'u donioldeb a'u hysmaldod arno; a thebyg mai i'w gweithiau hwy y gellir olrhain gwaith Quevedo. Y mae gweledigaethau o bobl a dulliau'r byd drachefn, fel *Vision of Piers Plowman* Langland, a *Canterbury Tales* Chaucer, yn bur lliosog; gellir enwi Breuddwyd Rhonabwy fel engraifft o'r cyfryw yn Gymraeg. Yr oedd y drychfeddwl o'r fath weledigaethau yn un o'r rhai hynaf a mwyaf adnabyddus; nid eiddo Quevedo ydoedd, ond eiddo'r byd, ac fel eiddo'r byd, ar wahân i'r Ysbaenwr, nis gallasai fod yn ddieithr i Elis Wyn. Perthynasau i'r gweledigaethau oedd yr hen broffwydoliaethau; bu Elis Wyn yn casglu'r rhain, ac yr oedd hen *Broffwydoliaethau y Bardd Cwsc* yn ei gasgliad;[2] a dyma lle cafodd deitl ei lyfr. Ond gweledigaethau Quevedo yn ddiau a roddes ffurf ar ddrychfeddwl y gwaith yn ei ddychymyg ef, ac a ddanghosodd iddo 'i

[1] Dywed Silvan Evans a Mr. Ashton ar ei ol, mai gwaith Cymraeg gwreiddiol yw hwn; ond fe geir y gwaith yn Llyfr yr Ancr, a gellir gweled y Lladin gwreiddiol yn yr atodiad i'm hargraffiad o'r llyfr hwnnw—*The Elucidarium*, Oxford, 1894.

[2] *Camb. Register*, i. 329.

gyfle. Eithr wrth achub ei gyfle fe ragorodd yntau ar ei ragflaenydd; y mae gwaith Quevedo 'n wasgarog a didrefn, gwaith Elis Wyn yn drefnus a chryno; nid oes nemor i gynllun yn y naill, tra y mae'r llall megys wedi ei amgyffred fel cyfanwaith gan ei awdwr cyn ei ddechreu. Benthyciodd Elis Wyn lawer o gymeriadau gan yr Yspaenwr, yn enwedig yng ngweledigaeth Uffern, ond efe biau gorff y mater hyd yn oed yn honno; eiddo ef yw'r ymddiddan â Thaliesin a'r ohebiaeth rhwng Angeu a Lucifer yng ngweledigaeth Angeu, a'r holl adeiladwaith yng ngweledigaeth y byd—y ddinas ddihenydd a'i thair ystryd, a thair merch Belial, yr ystryd groes a Dinas Emanuel.

Fel y dywedwyd am ddrychfeddwl y gwaith, felly y gellir dywedyd am lawer o'r ymadroddion cyffelyb sydd gan y ddau awdwr. Syniadau cyffredin yr hên oesoedd oeddynt, yng Nghymru yn gystal ag Ysbaen—eiddo'r byd, nid eiddo Quevedo, er fe allai mai efe yn aml a'u dug ar gof i Elis Wyn. Cymerer er engraifft y gred a grybwyllwyd uchod am obaith iechydwriaeth y llafurwr; fe'i ceir gan awdwr yr *Elucidarium* yn y ddeuddegfed ganrif, a dyma 'i eiriau yn y cyfieithiad o honynt a ysgrifennwyd yn Llyfr yr Ancr yn y flwyddyn 1346: "Beth am lafurwyr y ddaear? Rhann fawr o naddunt a iacheir."[1] Cyf-

[1] *The Elucidarium, &c.*, p. 40.

eiria Iolo Goch, yn ei gywydd i'r llafurwr, at awdurdod "Lusidarius," a dywed yn ei eiriau ei hun:

> Ymhen Mynydd (lle'i bydd barn
> I gyd) Olifer gadarn,
> Teg a fydd chwedl diledlaes
> Llafurwr, tramwywr maes.[1]

ac fel hyn y canodd Gruffudd ap Ieuan ap Llywelyn Fychan tua 1500, gan mlynedd ar ol Iolo:

> Pwy biau y nef hefyd,
> Lle'i bôn', ond llafurwyr byd?[2]

Gellid dyfynnu rhagor o'r cyfryw, ond diau y digona hyn er dangos fod y syniad yn hysbys yng Nghymru cyn amser Quevedo.

Ymhlith y syniadau cyffredin hyn y dylid rhestru'r cyffelybiaethau a ganfyddir rhwng Elis Wyn a Milton neu Ddante. Sonia Elis Wyn, er engraifft, am "y *gwres* a'r *oerfel* uffernol" (td. 119), ac am ddamniaid a gipir oddiar y "Creigiau llosc" "i ben un o fylcheu y rhew" (td. 191); a gellir cymharu o Baradwys Goll (ii. 600):

> From beds of raging fire to starve in ice,

ac o'r *Inferno* (iii. 87):

> Nelle tenebre eterne, in caldo e in gelo,

sef, "yn y tywyllwch bythol, mewn gwres ac oerfel." Ond cyn geni na Milton na

[1] Ashton, *Iolo Goch*, td. 633. Mynydd yr Olewydd yw "Mynydd Olifer." Yno y tybid gynt y byddai'r farn. Gweler *Eos Ceiriog* ii. 193.

[2] Gwenogfryn Evans, *Report on Welsh MSS.*, vol. i. p. 226.

Dante, ysgrifennwyd ym Mreuddwyd Pawl (dyfynnaf o'r cyfieithiad Cymraeg): "Oddyna ef a welei gwŷr a gwragedd mywn tân a ia, y tan yn llosci y neill hanner uddunt, a'r oerfel yn eu crydu o'r tu arall, ac yn eu cryfachu."[1] Amgyffredion yr hen fyd oedd y rhai hyn am y pwnc yr ysgrifennai Elis Wyn arno; nid benthyca oddiar Ddante na Milton yr oedd efe, mwy na hwythau oddiar awdwr Breuddwyd Pawl. Am hynny, nid amcenais nodi pob sylw yn y Bardd Cwsc y gellid dyfynnu rhywbeth tebyg iddo o weithiau awduron ereill; oblegid er mai gwaith dyddorol ynddo'i hun yw olrhain treigl meddyliau, eto ni phrawf fwy am y gwahanol ysgrifenwyr na'u bod yn etifeddion o'r un traddodiadau.

Ond prif hawl y Bardd Cwsc i'w ystyried yn waith gwreiddiol yw mai Elis Wyn ei hun, ac nid neb arall, sy'n llefaru wrthym ynddo. Am Gymry y sonnir—Cymry o'i oes ac o'i gydnabod ef; eu cymeriadau hwy a ddisgrifir, a'u ffaeleddau hwy a ddinoethir. Lle danghosai Quevedo mewn Ysbaenwr y peth a welsai yntau mewn Cymro, ni phetrusodd Elis Wyn ei efelychu; eto, y Cymro, nid yr Ysbaenwr, a bortreir ganddo ef; fel, lle ceir y ddeuwr yng nghyfieithiad L'Estrange mewn taer ymdrech "to make out their *Pedigree*" (p. 199), "datcan" y mae'r "Palff o '*Scweir*" yn y Bardd Cwsc

[1] *The Elucidarium*, p. 153.

"o ba sawl un o'r pymthegllwyth Gwynedd y tarddasei ef" (td. 97). Felly hefyd pan fo Elis Wyn o'r un farn a'i ragflaenydd, fe ddilyn heb rus ei ddull o'i datgan; ond nid bob amser y maent unfarn, nid yw'r bardd, i enwi un gwahaniaeth, yn dynwared geiriau sarhaus yr Ysbaenwr am ein mamau a'n chwiorydd: y mae'r Cymro'n ŵr mwy galawnt, ac o anian fwy bonheddig. Nid yr un pethau ychwaith sy'n bwysig yngolwg y ddau; y mae llawer peth ar feddwl Elis Wyn na sonnir dim am dano yn llyfr Syr Roger, a'i opiniynau a'i ragfarnau priodol ef ei hun sydd i'w canfod yn y llyfr hwn. A gŵr oedd efe, fel Dr. Johnson, o opiniynau a rhagfarnau cryfion, a "chashäwr da;" yn Eglwyswr selog o'r hen ysgol, un a ffieiddiai Babyddiaeth ar y naill law hyd yn oed yn fwy na Phiwritaniaeth ar y llaw arall; ac am Lewis o Ffrainc, a'r Twrc, a Mahomet, gwae hwy pan ddelont o dan ei ffrewyll ef. Ar wahân i'w gulni, a chulni ei oes oedd hwnnw, yr oedd efe 'n ŵr o synnwyr cyffredin cryf, a gŵr trwyadl onest, gelyn rhagrith a ffug, twyll a chelwydd, trais a gormes. Dyma Elis Wyn o Las Ynys, a dyma'r gŵr a ddaw i'r golwg ym mhob tudalen o Weledigaetheu'r Bardd Cwsc.

Yn lle rhyw adlewyrch gwan o fywyd Ysbaen yn nechreu'r ail ganrif ar bymtheg, neu o fywyd Lloegr yn ei chanol, darlun byw a geir yma o fywyd Cymru ar ei diwedd.

Bu llawer tro ar fyd ers deucan mlynedd, ac nid yr un wedd sydd ar Gymru ar ddiwedd y bedwaredd ar bymtheg. Yn amser Elis Wyn nid oedd sôn am na chapel na sasiwn nac achos dirwest, na chyfarfod canu nac eisteddfod. Yr oedd, yn wir, y pryd hynny aml i rigymwr a'i galwai ei hun yn brydydd, a "ph'le mae'r pyscodyn," medd Elis Wyn, "sy'r un lwnc ag ef?"[1] Ymysg dynion nid oedd a'i cystadlai ond yr offeiriad;[2] a phraidd i'r bugail hwnnw oedd corff y genedl. Gwir fod, yr adeg honno, ambell i bregethwr ymneilltuol; fe'i gwelid mewn "'*Scubor* yn dynwared pregethu ar ei dafod leferydd, weithieu 'r un peth deirgwaith olynol." Yn lle darllen yn bwyllog gyfansoddiad trefnus, fe'i clywid yn llefaru truth heb na rhôl na rheswm, yn destyn dirmyg i bob dyn goleuedig. Fe allai, er hynny, fod yn ei bregeth a'i hailadroddiadau, fel ym marwnad Dafydd am Absolom, hyodledd uwch nag a wyddai ei feirniaid; pa fodd bynnag, fe adawodd hwn ei ôl ar y wlad. Pa sut y buasai petai'r holl offeiriaid yn wŷr fel Elis Wyn ni chymeraf arnaf ddewinio; ond rhaid i ddifaterwch a llygredd gilio o flaen difrifwch dynion wedi eu hargyhoeddi. Yn adeg Elis Wyn yr oedd yr eisteddfod, fel cyfarfod swyddogol i drwyddedu beirdd, wedi hên farw, ac heb ei hadfywio fel sefydliad o gystadleuaeth boblogaidd. Ni

[1] Td. 62. [2] Td 24, 25.

wyddai ond rhyw dri neu bedwar ym Morgannwg ddim am Orsedd Beirdd Ynys Prydain, canys yr oedd Iolo heb weled y goleu; ond ffynnai llawer o ofergoelion ereill sydd erbyn heddyw wedi diflannu. Yr oedd y wlad yn dywyllach a mwy anwybodus; ychydig oedd y rhai a allai ddarllen, canys yr oedd Gruffudd Jones, Llanddowror, heb ddechreu sefydlu ei ysgolion; a pheth dieithr oedd gweled Beibl mewn tŷ. Fe glywid ambell i bennill o ddyri a genir hyd heddyw; ond yr oedd bron yr holl hymnau a anwylir gan y genedl heb eu canu eto—Morgan Rhys a Williams Pantycelyn heb eu geni. Ond o dan y gwahaniaethau hyn oll, yr un oedd ac a fydd y ddynoliaeth. Yr adeg honno, fel heddyw, fe geid y rhagrithiwr, a'r gwenieithiwr, yr oferwr, y balch, y cecryn, yr ysgogyn, y medleiwr, y rhodreswr, yr ysgowl, a'r fursen, a'r farchoges; fe welid un a'i holl egni 'n cribinio 'r byd, a'r llall a'i holl egni 'n ei wasgaru; a'r "Gŵr mawr" wrth ei hen orchwyl yn "dwyn allan o'r Mynydd ddarn o Blwy."

Am ddychymyg gref yr awdwr, pan draetha am Uffern a thiriogaeth Angeu ni raid helaethu; ond dylid crybwyll am ei fwriad o dreiddio drachefn y tu hwnt i'r llen a thraethu am y Nefoedd. Dywedid, ac adrodda Silvan Evans y chwedl yn hollol ddifrif,[1] ddarfod i Elis Wyn yn wir ysgrif-

[1] B. Cwsg, 1853, td. ix.

ennu'r weledigaeth honno, ond iddo daflu 'r ysgrifen i'r tân mewn digllondeb oherwydd edliw o rywrai iddo mai cyfieithiad o weledigaethau Quevedo oedd y lleill. Y mae dau reswm yn peri i mi ameu'r chwedl; yn gyntaf, nid hawdd gennyf gredu y gwnai Elis Wyn beth mor blentynnaidd; ac yn ail, cyhoeddi gweledigaeth y Nef a roddai daw ar yr athrodion, ac a brofai ei nerth annibynnol ef, canys nid anturiodd yr Ysbaenwr ddisgrifio paradwys. Sicr yw, fel y dengys y geiriau "Y Rhann Gyntaf" ar yr wyneb ddalen ac ar ddiwedd y llyfr, fod ym mryd Elis Wyn barhau'r gwaith, a gweledigaeth y Nef a fuasai'r parhad naturiol; ond nid oes angen dyfeisio stori fel hon i egluro pam nad ysgrifennwyd hi; y mae'r esboniad yn ddigon syml—heb gyfri 'r draul yr oedd efe. Fe wyddys nad yw Paradwys Dante i'w chymharu â'i Uffern, na Pharadwys Arobryn Milton â'i Baradwys Goll. Nis gellir portreadu gwynfyd â'r un angerdd a gwae; ac yn hytrach na gwneuthur disgynneb druenus, yr oedd Elis Wyn yn ddigon doeth i dewi.

Nid defnydd y gweledigaethau hyn yn unig sy'n rhoi pris arnynt, ond eu gwisg hefyd. Nis gallodd neb ar ol Elis Wyn, oddigerth fe allai Oronwy Owen, ysgrifennu cryfed a chyfoethoced Cymraeg rhydd. Y mae ei arddull yn lân oddiwrth y prioddulliau Seisnig a'r ymadroddion llac, eiddil

sy weithian, ysywaeth, mor gyffredin. Ni ddywed efe "oeddynt wedi gweled" am "welsent,"[1] neu "oedd wedi myned" am "aethai;"[2] ac nid yw'n tra-mynychu 'n ddiachos eiriau gwan fel *cael*,—ni ddywed "wedi cael eu claddu" am "wedi eu claddu,"[3] neu "gwelwn y lleill yn cael eu taflu," am "gwelwn daflu 'r lleill,"[4] nac "y mae hi yn cael ei galw" am "hi a elwir."[5] Y dull cryf cryno sydd gan Elis Wyn; ond yr awron rhy fynych y gwelir y dulliau gwan gwasgarog a ollyngwyd i'n Cymraeg ysgrifenedig o iaith dlodaidd mân siaradach.

Ond y mae ar arfer hefyd fath arall o ymadroddion amleiriog na chlywir byth mo honynt ar lafar, ond a drosglwyddwyd i Gymraeg llyfr o'r iaith Saesneg. "Nid wyf gwybodus o,"[6] medd Dr. Pughe am "nis gwn;" "nid wyf yn ymwybodol o," medd ei ddilynwyr—cyfieithiad o'r Saesneg *I am not aware of*; felly hefyd "bod yn arferol i" —*to be accustomed to*—meddant am "arfer," a "bod yn alluog i"—*to be able to*—am "allu." Dyma bobl sy'n tybied mai po fwyaf o eiriau fydd ar gyfer y synnwyr, llawnaf a chyfoethocaf fydd yr arddull. Yr ydym ninnau bellach, o hir ymborthi ar wynt, wedi rhyw ymgynnefino ag ef; ond sicr yw,

[1] Td. 5, ll. 19. [2] Td. 29, ll. 4. [3] Td. 7, ll. 22. [4] Td. 77, ll. 10. [5] Td. 43, ll. 1.
[6] *Coll Gwynfa*, Rhagfynegiad td. x.

pan lefarwyd gyntaf "yr wyf yn alluog i fyned," ei fod mor chwithig i glust y Cymro a phe dywedasid "yr wyf yn fedrus i fyned." Ni cheir mo'r fath bethau gan Elis Wyn; ni ddywed ef "yr wyf yn alluog i," eithr "mi fedraf,"[1] neu "nid yw yn alluog i" eithr "ni all."[2] Y mae amryw ddulliau ereill, yn ol y Saesneg, o chwyddo ymadroddion. Gellir troi berf yn dri gair trwy arfer enw yn *-iad*, megys dywedyd "gwneud ei ymddanghosiad" yn lle "ymddangos;" gellir estyn arddodiad trwy ddywedyd "mewn trefn i" am *er*, neu "mewn canlyniad i" am *gan;* a rhagferf trwy ddywedyd "fel mater o ffaith" yn lle *yn wir*. Afraid crybwyll na wneir mo hynny gan Elis Wyn, ni ddywed efe "mewn trefn i wneud eich ymddanghosiad" ond "at ymddangos;"[3] nac ychwaith "cymeryd ei ymadawiad," ond "ymadel"—"a mynd yn iach o'r Clwy ac ymadel;"[4] nac "yn ganlynol" am "yna;"[5] na'r un o'r cyffelyb bethau.

O'r Saesneg hefyd, ac o'r Saesneg gwaelaf, y cafwyd y dull barbaraidd o ohirio gwrthrych arddodiad, megys pan ddywedir "ymwrthod â, ac anufuddhau i, 'r gwirionedd," yn lle "ymwrthod a'r gwirionedd ac anufuddhau iddo"—trychu brawddeg a thaflu 'r darnau yn eu gwaed o flaen y darllennydd.

[1] Td. 26, ll. 18. [2] Td. 44, ll. 18. [3] Td. 29, ll. 23. Gweler hefyd td. 131, ll. 2. [4] Td. 25, ll. 26. [5] Td. 59, ll. 6; td. 121, ll. 30.

Diameu mai tyb y rhai sy'n euogo hyn eto yw ei fod yn dangos gallu meddyliol dadansoddol a chryf, tra na ddengys ond na wyddant hwy ragor rhwng Saesneg salw a Chymraeg da. Nid yw Elis Wyn yn cigyddio ymadroddion yn y modd hwn; ni sonia efe am rai yn "rhoi pwys ei serch ar, ac yn gadel i, 'r Tobeccyn eu meistroli," eithr yn "rhoi pwys eu serch ar y Tobeccyn, a gadel iddo 'u meistroli."[1]

Un o gyfeiliornadau hynaf y cyfieithwyr yw tybied fod *yr hwn*, *y rhai*, *pa un*, *pa rai*, yn "rhagenwau perthynol," a'u dodi yn eu cyfieithiadau lle bynnag y ceir *who* neu *which* yn Saesneg, neu *qui* yn Lladin. Ni wyddant mai'r geiriau bach *a* ac *y* (a eilw'r gramadegwyr yn "fanynau") yw'r rhagenwau perthynol; am hynny dywedant "y gwr yr hwn a welais" yn lle "'r gwr a welais," a'r "gwr am yr hwn y soniais" yn lle'r "gwr y soniais am dano." Y mae Beibl Dr. Morgan yn dryfrith o'r cyfryw ymadroddion; fe chwynnwyd peth arnynt gan olygwyr Beibl 1620, ond erys gormod o honynt eto i wanychu Cymraeg yr Ysgrythur. Fe dâl "pa un" yn burion i ofyn cwestiwn, ac fe dâl "yr hwn" ar ddechreu brawddeg neu lle bo rhagflaenydd y rhagenw heb ei enwi; ond am eu harfer ym mhobman fel rhagenwau perthynol, nid yw amgen na thrais ar egwyddorion yr iaith.

[1] Td. 142, ll. 26.

Ni welir mo hynny mewn hen Gymraeg diledryw fel y Mabinogion, ac nis clywir ar lafar gwlad; nis canfyddir ychwaith yng ngweledigaethau Elis Wyn. Lle y dywedai naw ysgrifennydd o bob deg heddyw "ofer fuasai ei ymgais i gloi yr enaid yr hwn sydd yn alluog i fyw a theithio heb y corff," dau air sydd gan Elis Wyn, "a fedr," yn lle 'r chwech "yr hwn sydd yn alluog i"—"etto gwaith ofer," medd efe, "oedd iddo geisio cloi 'r enaid a fedr fyw a thrafaelio heb y corff."[1] A thrachefn lle sonnid yn awr am "wledydd pell, ar wastadedd tirion pa rai yr oeddwn wedi cael cip olwg," canys dyna gystrawen cyfansoddiadau eisteddfodol, sôn y mae Elis Wyn am "y gwledydd pell y gwelswn gip o olwg ar eu gwastadedd tirion."[2] Dyma ddwy engraifft o'r ddau dudalen cyntaf; ond felly yr ysgrifenna efe'r cyfryw frawddegau trwy gydol y llyfr. Yn lle bod *yr hwn*, neu *pa un* dair a phedair gwaith ar yr un tudalen, fel yn y rhan fwyaf o'r llyfrau a gynnyrchir heddyw, y maent gyn brinned ag iâ Gorffennaf.

Sylwais gymaint a hyn ar rai o'r pethau *nad* ydynt yng Nghymraeg Elis Wyn, am mai un o brif ragoriaethau ei arddull yw ei bod yn bur; a phurdeb arddull, fel coethder aur, yw ei bod *heb* yr alcam. Ymwrthod â'r gau yw'r wers gyntaf mewn ysgrifennu, fel mewn bywyd; "peidiwch a gwneuthur

[1] Td. 6. [2] Td. 5.

drwg," meddir, ac wedi hynny y dywedir "dysgwch wneuthur daioni." Yr oedd i Elis Wyn fantais arnom ni yn hyn o beth, gan fod llawer o'r pethau a enwyd heb ddyfod ar arfer yn ei adeg ef; ond y mae'n gryn syndod, ag ystyried gynefined oedd ef â'i Feibl, fod ei iaith mor lân oddiwrth y lleill. Am hyn ni dderbyniodd efe erioed mo'r glod a haeddai: ni welwyd mai ymgadw rhag y fath bethau oedd prif sail ei nerth. Yn wir nis gallai 'r rhinwedd hwn fod amgen na dirgelwch i rai nas gwyddant ragor rhwng drwg a da mewn cystrawen Gymraeg; a chanmolwyd arddull Elis Wyn lawer tro mewn iaith oedd yn euog o'r holl feiau anafus a ochelid mor gyson ganddo ef.

Y mae i gyfieithu effaith arall: heblaw derbyn elfennau dieithr, fe esgeulusir elfennau cynhenid yr iaith; a dylid crybwyll gair neu ddau am y pethau *sydd* yng Nghymraeg Elis Wyn, ac nad ydynt mor amlwg yng Nghymraeg awduron diweddar. Nid oes yn Saesneg ddim yn cyfateb i'r rhagenwau *minnau*, *tithau*, *yntau*; ac felly nid oes ar y cyfieithydd eu heisiau, ac y mae perygl i Gymraeg llyfr eu colli. Arfera Elis Wyn hwynt yn hollol fel y'u clywir fyth ar dafod y Cymro syml; ac ni raid dyfynnu engreifftiau, gan liosoced ydynt. Ond ceir ganddo ef hefyd hen ddulliau grymus o'u harfer, megys lle y buasem ni 'n dodi gair gwaelach fel *hefyd* neu *chwaith*,—" 'r oedd

y rhain hwythe 'n methu cael y ffordd i ddianc;"[1] neu fe 'u dyry megys colyn brathog ynghynffon brawddeg—"os da clywai 'rŷchwi yno ar fynd tan gwmmwl chwitheu."[2]

Nid oes nemor o amrywiaeth yn Saesneg ar ddull brawddeg amodol; ac y mae yn Gymraeg rai dulliau nad oes dim yn Saesneg i gyfateb iddynt, megys rhoi *ac* o flaen un o'r rhagenwau uchod, neu ragenw arall, "ac yntau 'n myned," "ac efe 'n dyfod." Anaml y gwelir y dull hwn yn awr, oddigerth wedi ei ddifetha trwy roi *tra* yn lle 'r *ac*—"tra efe yn myned." Pa le y cafodd ymgeiswyr eisteddfodol yr anfad gystrawen hon, nis gwn. Ond yn gyffredin ni cheir ond unffurfiaeth wastadol y dull agosaf i'r Saesneg, "gan ei fod," "er ei fod," *since he*, *though he*. Nid wyf yn honni fod y rhain yn anghywir, ond dywedyd yr wyf fod eu gwell, a'u bod i'w gweled yn fynych yn y Bardd Cwsc. Nid yw "Hwn yn addo mawredd i'w gariad er ei fod ar werthu ei dir" yn ymadrodd anghywir, ond gwell y dywed Elis Wyn—"Hwn yn addo mawredd i'w Gariad, ac ynteu ar werthu ei Dir."[3]

Nid oes dim yn Saesneg a gyfetyb yn hollol i'r radd gyfartal yn Gymraeg; ac felly nis gwelir mo honi 'n awr gyn amled a chynt. Fe 'i harferir yn helaeth gan Elis Wyn; nid "rhyfeddwn at ei huchdwr ei

[1] Td. 32, ll. 15. [2] Td. 116, ll. 15. [3] Td. 31, ll. 8.

chryfdwr a'i harddwch," a ddywed ef, ond "mwyfwy y rhyfeddwn uched gryfed a hardded oedd pob rhan o honi;"[1] felly hefyd nid "o herwydd eu hoffder o dywysoges stryd arall," eithr "gan ddäed ganddynt Dwysoges Stryd arall."[2] Y mae i'r berfenw Cymraeg, drachefn, lawer eangach grym na'r *infinitive* yn Saesneg; yn un peth, fe saif lle'r arferir yn Saesneg *abstract noun.* A rhy aml weithian y dynwaredir Saesneg trwy roi enw yn terfynu yn *-iad* neu *-iaeth* yn lle'r berfenw, megys "Ar ol ei symudiad i L—— er adgyfnerthiad ei iechyd, penderfynodd wedi dwys ystyriaeth o'r mater —." Ni ddywed Elis Wyn "cyn ein symudiad," eithr "cyn i ni ymsymmud;"[3] nac "er adgyfnerthiad i mi," eithr "i'm nerthi;"[4] nac ychwaith "wedi dwfn ystyriaeth" ond "ar ddwfn ystyried."[5] Fel y gellir yn Lladin arfer y modd anherfynol yn lle 'r modd mynegol wrth adrodd hanes, felly y gellir arfer y berfenw yn lle berf yn Gymraeg; ond nis gwneir yn awr am nas gwneir yn Saesneg. Lle y dywedasem ni "blinasom" ac "aethom," fe wna "blino" a "myned" y tro gan Elis Wyn—"Blino ar y ffloreg ddiflas honno, a myned i gell arall."[6] Mor fyw y danghosir y peth trwy'r berfenwau hyn; eto, am fod yn rhaid cael berf bersonol

[1] Td. 45, ll. 9. [2] Td. 13, ll. 9. [3] Td. 89, ll. 2. [4] Td. 89, ll. 20. Gwall am *nerthu.* [5] Td. 73, ll. 23. [6] Td. 26, ll. 12.

yn Saesneg, diau y condemnid y frawddeg gan feirniad Eisteddfod fel "ymadrodd heb brifair."

Ond heblaw fod delw Gymreig ar y brawddegau, y mae yma hefyd lawer o hen ymadroddion Cymreigaidd na welir mo 'u hwynebau erbyn hyn, megys "yn rhodd," "yn iach," "os tlawd *hwdiwch* bawb i'w sathru;"[1] "os peidi, *dyna di'n* Anghrist;"[2] a thrachefn "*ni cheisia i ond gwaetha ungwr* ddangos ei glanach hi."[3] Prin y rhaid crybwyll y cyfoeth o eiriau Cymraeg a geir yn y llyfr, a llawer o honynt yn gofyn eu hegluro 'n awr, am na ddeall y darllennydd cyffredin bellach ond rhyw gyfieithiadau trwsgl a diweddar o'r geiriau sydd ar arfer yn Saesneg. Fe ddeellir *archadeiladydd*, gair cymysgryw a wnaed ychydig flynyddoedd yn ol gan rywun nas gwyddai fod cyfieithiad cywir a Chymreig o ἀρχιτέκτων, sef *pensaer*, ar arfer dros bum can mlynedd yn ol; ond y mae 'r hen air erbyn hyn yn gofyn ei egluro.

Ond nid cystrawen Gymreig a chref, a chyfoeth geiriau yw unig ragoriaethau arddull Elis Wyn. Y mae efe 'n fwy na chrefftwr a fedr drin ei arfau 'n iawn; y mae iddo athrylith i'w trin yn odidog. Gall gyfansoddi geiriau grymus fel y "fallgyrch" a'r "gollborth," ac ymadroddion nas anghofir, megys y "Llynclyn Diphwys" a'r "Wàl

[1] Td. 38, ll. 9. [2] Td. 38, ll. 15. [3] Td. 30. ll. 6.

Ddiadlam." Y mae'n feistr ar ffigyrau ymadrodd; pwy 'n well all lunio argyfenwad,[1] sef amrywio synnwyr mewn cyffelyb sain?—"cewch weled y llafurwr diwyd yn troi 'n llefarwr diofal ysmala,"[2] neu "o ymdaeru i ymdaro, o eiriau i arfau."[3] Ond fe all amrywio 'i ddull gyda'i fater pan fyn; sylwch ar goeg-foesgarwch Lucifer wrth ofyn ffafr gan Angeu, ac yna pan dry i fygwth, mor ebrwydd yr a 'r *chwi* barchus yn *di*—"Oblegid myn y Goron Uffernol, os bwri hwy yma."[4] Nid pwnc o ramadeg yw hyn, eithr celfyddyd gain. Ychydig hefyd sydd o gymheiriaid i Elis Wyn ar y gamp o ddethol ansoddeiriau; megys pan sonia am yr "awyr *deneu eglur*,"[5] neu am y druan weddw "yn dyfod tan leisio 'n *wann* ac och'neidio 'n *llêsc* rhwng llesmeiriau;"[6] dyna ddwy engraifft o ugeiniau, ac mor wymp y traetha pob ansoddair ei neges. Nid llawer ychwaith all bortreadu fel efe mewn cyn lleied o linellau,—y "paladr o wr a fasei 'n Alderman,"[7] y "swbach henllwyd bach,"[8] y "Scweir o hanner gwaed;"[9] onid adwaenom hwynt? Yn wir, gall Elis Wyn dynnu pictiwr ag un gair,—"yn *llaes* i foes i bawb a'i cyrfyddei,"[10] gwelir ystum y dyn yn fyw yn y gair; "cyntedd a *gwg* ei redfa

[1] H. Perri *Egluryn Phraethineb*, xxx. [2] Td. 147, ll. 2. [3] Td. 115, ll. 15. [4] Td. 72. [5] Td. 5, ll. [6] Td. 28, ll. 12. [7] Td. 15, ll. 10. [8] Td. 63, ll. 4. [9] Td. 97, ll. 19. [10] Td. 15, ll. 21.

at ryw gongl ddugoch ;"[1] a sylwch ar air Lucifer wrth Angeu,—"a'ch bod chwi ar fedr eu *byscwyd* tros y Geulan i'm Teyrnas i."[2] Gall hefyd roi mewn un gair gynnwys pregeth o watwor a cherydd,—"y gêst a'r Gowt ac amryw glefydon *bonheddigaidd* eraill,"[3] neu "ymbell dyngwr *tlws* ;"[4] a thrachefn, "Mae gennym bump o *betheu* a elwid echdoe 'n frenhinoedd,"[5] erbyn heddyw y mae *petheu* yn enw digon da arnynt. Fe ŵyr Elis Wyn hefyd werth tawedogrwydd; mewn dwy linell fe deflir y brenhinoedd i'w lle dan draed Lucifer, ac ni sonnir mwy am danynt. Nis gallesid rhoi mewn geiriau hanner y dirmyg sydd yn y distawrwydd hwn. Fe all hefyd helaethu, os hynny a fyn, megys pan ymddengys y tafarnwr ger bron Lucifer; deil y Fall ef fel bwystfil rheibus ei ysglyfaeth, a dyry iddo aml i ergyd yn ei chware chwerw cyn taro 'r ddyrnod farwol olaf, "Ai dieithr gennit ti uffern, a thithe'n cadw uffern gartre? dos fflamgi at dy benyd."[6]

Y mae nerth gyn amlyced yn arddull Elis Wyn na raid codi esiamplau penodol i'w ddangos ; yn wir, y mae rhai o'i eiriau yn gryfach nag a gyfrifir yn weddus yn awr. Er ys talm fe'u harferid yn ddiniwed a didramgwydd—i'r pur popeth sy bur ; ond bellach aethant o'r ffasiwn, canys rheolir

[1]Td. 104, ll. 29. [2]Td. 71, ll. olaf. [3]Td. 15, ll. 15. [4]Td. 119, ll. 2. [5]Td. 120, ll. 10. [6]Td. 120, ll. 6.

geiriau, fel gwisgoedd, ganddi hi; ac y mae gair na thynnai sylw ddoe erbyn heddyw 'n aflednais. Nid barn yw barnu Elis Wyn, mwy na hen awduron ereill, wrth ffasiwn yr oes hon. Fe sonnir weithiau am "chwaeth" fel pe na bai ond deddf i ochel siarad plaen, ac i ddewis geiriau neis. Nid deddf mo hono, eithr cynneddf; y gynneddf a adnebydd y peth sydd gymwys a chymesur mewn gair a gweithred, yn addas i'r lle a'r pwrpas, ac mewn cywair â'r achlysur. Yng ngenau cythreuliaid y dyry Elis Wyn y geiriau cryfaf, ac nid oes neb na chlybu eu cyffelyb o enau dynion. Y gwir, er ei arwed, a saif; ac y mae Shakespeare wedi goroesi Bowdler. "Oni ddeall taflod fy ngenau gam flas?" medd Job. Nid cam flas yw pob blas cryf; ond am chŵydd, annaturioldeb, mursendod, dyma gam flas, neu ddrwg chwaeth; a dyma bethau y mae Elis Wyn yn rhydd oddiwrthynt. Ond sôn yr oeddwn am nerth ei arddull. Heblaw iaith gref, fe all hefyd ysgrifennu ymadroddion prydferth, llawn o fiwsig, "Yma mae tai teg a gerddi tra hyfryd, perllannau llownion, llwyni cyscodol, cymmwys i bob dirgel ymgyfarfod, i ddal adar ac ymbell gwningen wen: afonydd gloew tirion i'w pyscotta, meusydd maith cwmpasog hawddgar i erlid ceunach a chadno."[1]

Ond fe ddywed rhywrai, os yw ei gys-

[1]Td. 22, 23.

trawen bob amser yn Gymreig a phur, fod ei eiriau 'n fynych yn Seisnig ac amhur. Y mae'r gri am burdeb geiriau yn llawer hŷn na Dr. Pughe; chware teg i'r Dr., nid efe oedd awdwr gwreiddiol nemor un o'i syniadau. Achwynai Gronwy ar Ddafydd ap Gwilym,[1] a beiai Edmwnd Prys cyn hynny ar Wiliam Cynwal[2] am ddwyn geiriau Saesneg i'w gwaith. Y mae ysgrifenwyr rheolau barddoniaeth ym Morgannwg a Gwynedd yn un ar y pwnc; yng *Nghyfrinach y Beirdd* gwaherddir arfer "geiriau o'r Saes'neg nag o'r Ffrangeg nag o un wagiaith ag oferiaith arall;"[3] ac yn y *Pum Llyfr Cerddwriaeth* gelwir y fath air yn "avieithair," a "bolysothach."[4] Nid yw'r gri nemor hŷn na'r unfed ganrif ar bymtheg; ac yr oedd, hyd yn oed yn y ganrif honno, rai a welai ei chyfeiliorn. Fe ganfu Dr. Gr. Roberts yn 1567 mai benthyca geiriau oedd un o ddulliau naturiol a chyfreithlon pob iaith o ymhelaethu;[5] ac yn 1594 llefarai Morus Cyffin yn bur hallt am y "coeg ddynion," chwedl yntau, "a ddoedant, wele, geiriau seisnigaidd a geiriau lladingaidd yw rhain, yn dwyno 'r gymraec. . . . Druain gwerin, ychydig a wyddant, llai a welsant, ag nid gwiw sôn am ddyscu iddynt."[6] A phan eir yn ol, y mae digon o eiriau benthyg

[1] *Llythyrau*, arg. Lerpwl, td. 69. [2] *Y Greal*, td. 11. [3] *Cyfr B.Y.P.*, td. 15. [4] *Dosp. Edeyrn*, 1856, td. cxix. [5] *Dosp. Byrr*, arg. Paris, td. 105. [6] *Deff. Ffydd*, at y Darlleydd.

o'r Saesneg a'r Ffrangeg, heb sôn am hen eiriau o'r Lladin, i'w canfod yn y Mabinogion a'r Brutiau a'r Cyfreithiau, ac yng ngweithiau 'r holl hen feirdd: ysgrifenna 'r awduron yn naturiol, nid yn "wreiddeiriol." Wrth gwrs, y mae gronyn o wir yn naliadau 'r purdebwyr; nis gellir cymryd pob gair Saesneg a'i alw'n air Cymraeg. Dyma wirionedd bach a wêl plentyn, a methu a gweled mwy na hyn yw eu coll hwy. Nis gwelant fod gair o hir drigo mewn iaith yn dyfod yn rhan o honi o ba le bynnag y daeth. O'r Groeg drwy'r Lladin, ac nid o wreidd-eiriau Cymraeg fel yr honnai Pughe y tardd *eglwys* ac *efengyl*, eto pwy a wad nad yw 'r rhain yn eiriau Cymraeg? Felly hefyd, gellir derbyn *help* a *cheisbwl* yn eiriau Cymraeg heb dderbyn ei haeriad ysmala ef fod y naill yn tarddu o *hel* a'r llall o *cais* a *pŵl*. Nid "gwreiddeiriau" sy'n penderfynu Cymreigrwydd gair; y mae *perygl* yn well gair Cymraeg na *danjer*, nid am ei fod yn tarddu o wraidd Cymreig, canys nid yw amgen na'r gair Lladin *periculum*, ond am ei fod wedi hen gartrefu yn yr iaith, a'r llall heb ei freinio, ac yn wir heb golli eto mo'i wedd estronol; o'r ochr arall, er mai o'r Saesneg (ac nid o *hy* ac *ed* fel y dywedai Pughe) y tardd *het*, eto y mae 'n well gair Cymraeg na *diddosben* am ei fod bedwar can mlynedd yn hŷn, ac wedi ei freinio gan Ddafydd ap Gwilym. Ni ddyd Elis

Wyn, fel yr ysgrifenwyr musgrell diweddar, air Saesneg rhwng cromfachau ac weithiau ynghorff brawddeg, am nas gall adrodd ei feddyliau yn Gymraeg. Nid oes ganddo ef eiriau Saesneg, namyn geiriau Cymraeg yn tarddu o'r Saesneg; yr oedd pob un o honynt ar arfer yn Gymraeg, a'r rhan fwyaf, megys *siop*, *ceisbwl*, *lifrai*, *help*, wedi eu trwyddedu iddi er dyddiau Dafydd ap Gwilym.

Rhaid addef mai da y gwnaeth y purdebwyr geiriol yn cadw o'r iaith eiriau llediaith o'r tafodieithoedd fel y rhai a welir mor lliosog yn Llyfr y Vicar; ond anghymwynas â hi oedd ceisio 'i hyspeilio o hen eiriau da a arferir drwy'r holl wlad ac a welir yng ngweithiau'r awduron goreu. Ond y gŵyn fwyaf yn erbyn y purdebwyr diweddar ydyw 'r cam a wnaethant â chystrawen yr iaith. Y maent fel pe meddyliech am bensaer yn trafferthu cymaint ynghylch defnydd y priddfeini, nes anghofio fod y fath beth a chynllun i'r adeilad. Nis gallant roi dau briddfaen yn gywir wrth ei gilydd ond ar ddamwain: y mae'r gair *darlun* mor anghywir a phe dywedasid *darlen* neu *berlan* am *ddarllen* neu *berllan*. A sylwch ar y gair *diddosben;* ni ddywedai 'r hen bobl gynt *lieinben* am *benlliain*, na *gwisgben* am *benwisg*, ac os oes rhyw ystyr i *ddiddosben*, "pen heb ollwng dŵr" ydyw, peth nas gellir ei ddywedyd am ben y dyn a

wnaeth y gair. Fel y syllasant gymaint ar wreiddeiriau nes methu a chanfod egwyddorion eu cyfansoddi 'n eiriau, felly y syllasant ar eiriau nes methu a chanfod fod i'r iaith y fath beth a phriod-ddull, a gwthiasant arni bob cystrawen ond yr eiddi ei hun—andwyo enaid yr iaith wrth geisio gofalu am ei chorff. Dyma baragraff o Ragymadrodd Gwallter Mechain i waith Huw Morus:

> Mae y geiriau anghyfiaith a gynnwysir yn y gwaith, megis *ffarwel*, *perl*, *aliwns*, *ysgweier*, *camrig*, *galwyn*, *dart*, *part*, *ffrins*, *&c.*, *&c.*—gwedi eu argraffu mewn llythyrenau amrywiol er mwyn dynodiant; ac fel yr ymwrthodont y beirdd ieuainc â'r fath gymmysgedd yn eu cyfansoddiadau.[1]

Ni wyddai Gwallter ei fod yn gwneuthur mwy o gam â'r iaith wrth ysgrifennu brawddeg fel yr olaf hon, na Huw Morus wrth arfer yr holl eiriau a enwa. Nid oes dim tebyg i'r bombast hwn yn ysgrifau Elis Wyn. Dyma eto baragraff cyntaf Rhagfynegiad Pughe i'w *Goll Gwynfa*, ac y mae hwn yn frenin wrth ddim sydd yn y cyfieithiad ei hun: cymharer ef â'r darn a fynner o'r Bardd Cwsc a ysgrifennwyd dros gan mlynedd o'i flaen:

> Y ganiad Seisonig o Goll Gwynfa gan Iohn Milton, o hon y mae y cyfieithiad canlynawl, á gyfrifir un o ben gorchestion beirdd y byd; ac am hỳny yn wiw o ei chyflwynaw i gyfnabod y Cymry, os galluadwy yw yr ymgais heb beri iddi warth ac anfri, o amcanu ei gwisgaw yn ein hiaith ni

[1] *Eos Ceiriog*, i. td. xx.

> mor delediw ag y byddo iddi gael ei derbyniaw mewn hoffder dyledus iddei theilyngdawd ansoddawl.

Heb aros i ymholi ai "galluadwy yw yr ymgais o amcanu," neu, mewn un gair, ai posibl, cael rhyw synnwyr o'r cruglwyth geiriau hyn, heb sôn gair ychwaith am arddull na chystrawen, ystyrier chwaeth y neb a'u hysgrifennodd : a oes yn holl waith Elis Wyn ddim ag ynddo 'r fath "gam flas?" Nis gellir llai na theimlo, wrth ddarllen y Bardd Cwsc, fod ysgrifennu Cymraeg erbyn hyn yn gelfyddyd goll; ac eto, wrth ystyried mai baldordd Pughe a rhodres Gwallter oedd prif batrymau ysgrifenwyr traean cyntaf y ganrif, y mae'n ddigon rhyfedd ar ei diwedd fod Cymraeg llên cystal ag ydyw.

Fe deilynga orgraff Elis Wyn sylw yn gystal a'i gystrawen, canys dyma'r hen orgraff draddodiadol cyn i'r geirdarddwyr ei dyrysu. Fe ymdrinir â sillebiaeth geiriau neilltuol yn y Nodiadau a'r Eirfa; a cheir nodiad ar ei orgraff yn gyffredinol ar ddiwedd y Rhagymadrodd hwn.

Cyhoeddwyd yr argraffiad cyntaf o'r gwaith yn Llundain yn 1703, yn llyfr bychan 24plyg. Dyma argraffiad yr awdwr ei hun; a dyma 'r "goreu a'r cywiraf" o honynt oll, fel y dywed y Canghellor Silvan Evans; a gellir ychwanegu, heb eithrio 'i argraffiadau ef. Y

mae'r argraffiadau ereill hyd y gwn i, fel y canlyn :[1]

2. Mwythig, R. Lathrop. Diamseriad. [O 1740 i 1745].[2]
3, 4, 5. Mwythig, T. Durston, 1748, 1755, 1759.
6. Caerfyrddin, J. Ross, 1767.
7. Mwythig, J. Eddowes, 1768.
8. Mwythig, Stafford Prys, 1774. Y mae hwn fel yr argraffiad presennol yn dilyn y cyntaf dudalen am dudalen.
9. Merthyr Tydfil, 1806.
10. Caerfyrddin, J. Evans, 1811.
11. Dolgellau, 1825.
12. Caerfyrddin, 1828.
13. Llanrwst, Hugh Jones, } Diamseriad.
14. Caernarfon, Peter Evans, }
15. Caerfyrddin, Spurrell, 1853; gol. Silvan Evans.
16. Llanidloes, J. Pryse, 1854.
17, 18, Caerfyrddin, Spurrell, 1865 a 1878; gol. Silvan Evans.
19, 20. Liverpool, I. Foulkes, 1886, 1894.
21. Caernarfon, y Wasg Gen., 1898; gol. O. M. Edwards.
22. Liverpool, I. Foulkes, 1898; gol. Emrys ap Iwan.

Ymddanghosodd dau gyfieithiad Saesneg o'r gwaith; y naill gan George Borrow yn 1860, a'r llall gan Mr. R. Gwyneddon

[1] Gweler "*Hysbysiad*," arg. Silvan Evans; a *Han. Llen. Gymr.* Ashton, td. 116.

[2] Yn y blynyddoedd hynny yr argraffai Lathrop. Gwneir camgymeriad am dano yn *Llyfryddiaeth* hollol fel yr un a wneir am Stafford Prys. (Gweler uchod, td. xii.) Amserir llyfr o'i argraffwaith yn 1687 am fod llythyr yr awdwr wedi ei arwyddo y flwyddyn honno; a rhoddir llyfr arall yn 1699 heb *ddim* rheswm.

Davies yn 1897. Fel y buasid yn disgwyl, y mae cyfieithiad Borrow yn pefrio gan aml i fflach o athrylith, ac yn llawn o gamddealltwriaeth dybryd. Y mae cyfieithiad Mr. Davies yn llawer iawn cywirach, ac yn y rhagymadrodd iddo fe deflir peth goleu newydd ar hanes Elis Wyn.

Dywed Mr. Foulkes fod argraffiad 1886 o leiaf yr ugeinfed, a dichon ei fod yn ei le. Yn argraffiad 1767 y gwnaed cyfnewidiadau bwriadol gyntaf, a dilynwyd hwn gan argraffiad 1806, a hwnnw drachefn gan y rhai diweddarach hyd argraffiad Silvan Evans. Ei amcan ef yn "ei gyhoeddi o newydd" yn 1853 oedd "ei adferu i'w burdeb cyssefin heb na chwanegu ato, na thynu oddiwrtho, na chyfnewid arno." Ni thybiech wrth y geiriau cryfion hyn fod yr orgraff wedi ei doctora a'i phuweiddio hyd nad adwaenai Elis Wyn mo'i waith ei hun. Y mae argraffiadau 1886 a 1894 yn orgraff swyddfa Mr. Foulkes; a'r argraffiadau rhad diweddar wedi eu chwynnu.

Amcan yr argraffiad presennol yw adfer y gwaith yn llythrennol i'w burdeb cysefin; dangos y bardd yn ei wisg ei hun, nid yn nillad y golygydd. Dilynir argraffiad yr awdwr lythyren am lythyren, llinell am linell a thudalen am dudalen. Argraffwyd yr wyneb ddalen o adluniad photograffol ar zinc o'r ddalen wreiddiol; a chysodwyd y dalennau ereill yn y llythrennau a dorrwyd

gan William Caslon yn 1722.[1] Nid yw'r llythrennau hyn felly gyn hyned a'r rhai gwreiddiol; ond y maent yn llawer agosach atynt o ran ffurf na'r dulliau a ddaeth yn gyffredin ar ol i Bodoni lygru chwaeth argraffwyr.[2] Yn y gyfres italaidd y mae'r gwahaniaeth mwyaf rhwng yr hen lythrennau a rhai Caslon; y mae'r hen brif-lythrennau italig yn llai yn ol yr herwydd na'r mân-lythrennau, ac felly nid yw llinell fel yr ail ar dudalen 39 mor wasgedig yn yr argraffiad gwreiddiol ag yn ein cyfargraff ni. Y mae *T* yr argraffiad cyntaf o'r ffurf hon, nid fel *T* Caslon, er fod y ffurf honno hefyd lawn mor hen; ac y mae'r hen *w* yn ymrestru'n well â'r llythrennau ereill nag *w* Caslon. Y mae 'n llythyren ni hefyd beth yn fwy—y tudalen hwn yn 5 modfedd wrth 2½, a'r gwreiddiol yn 4¼ wrth 2¼. Ond y mae'r llythyren wreiddiol yn amrywio, canys y mae ronyn brasach yn y tudalennau 86-89 a 110-113; ac felly y mae 'r tudalennau hynny 'n fyrrach yn y cyfargraff hwn.

Fe geisiwyd, felly, gyfleu'r argraffiad cyntaf mor gywir ag oedd bosibl, gyda'i holl neilltuolion a'i holl wallau. Os gofynnir paham y cadwyd y gwallau mor ofalus, yr ateb yw nas gellir bod yn berffaith sicr o ddim ond y peth sydd ar lawr. Cywirodd Silvan Evans *grau* y Bardd Cwsc i *grai* yn ei argraffiadau; ond yn ei Eiriadur (1893)

[1] E. F. Strange, *Alphabets*, p. 168. [2] Eto, p. 181.

fe ddengys mai *crau* sydd gywir. Ped anturiwn innau gywiro gwallau, odid na welid rywbryd am lawer o honynt mai 'r gwreiddiol oedd yn iawn. Y mae 'n anhepgorol i'r ieithydd gael y gwaith *fel y mae;* ac ni wna 'r camargraffiadau anhwylusdod i neb arall.

Wedi argraffu'r holl destun fe ganfuwyd ynddo, wrth fyn'd drosto 'n fanwl i sgrifennu 'r Nodiadau, saith o feiau llythrennol anfwriadol. Yn lle rhoi rhestr o honynt ar y dechreu, fe adargraffwyd ugain tudalen i gywiro 'r beiau hynny. Hyderaf felly fod y testun yn awr yn gywir; ond y mae yn y Nodiadau a'r Eirfa rai gwallau na thybiwyd yn werth adargraffu 'r dalennau i'w cywiro, megys "*Fraine*" am "*Frainc*" (td. 157, ll. 16); "can-" am "cam-" (ll. 36); "149" am "1491" (td. 166, ll. 2).

Yn y *Nodiadau* fe sylwir ar gamargraffiadau'r gwreiddiol, oddigerth y rhai amlycaf oll fel "adfeidrol" (td. 59), "gagoniant" (td. 86), a'r cyffelyb; ac fe eglurir enwau priod, brawddegau, hen arferion, a phopeth nad edrychid yn fwy naturiol am dano yn yr Eirfa. Wedi argraffu'r Nodiadau cefais gan Mr. L. D. Jones (Llew Tegid) y nodyn a ganlyn ar "droi 'r cryseu." Gresynwn na buasai mewn pryd i'w ddodi yn ei le, td. 169.

> Dodid crys ar le neilltuol yn un cwr i'r ystafell, ac eid trwy ddefosiwn mewn cwr arall, a deuai 'r darpar ŵr i mewn, a throai 'r crys a'r ochr arall i fyny. Gwn am ffermdy lle'r aed trwy'r seremoni

hon ers llai na deugain mlynedd, ac y mae rhai oedd yn bresennol yn fyw heddyw, ac yn credu iddynt weled un yn troi 'r crys oedd ar y pryd o leiaf 20 milltir o'r lle.

Yn yr *Eirfa* fe eglurir ystyr geiriau sy bellach yn ansathredig. Y mae'r rhestr yn gyflawnach na'r un a ymddanghosodd o'r blaen, er na chynnwys y fath eiriau a *siop* gyda'r eglurhad mai "maelfa" a olygir. Os teimlir fy mod yn rhoi gormod o ieithyddiaeth yn yr Eirfa, fe allai y maddeuir hynny pan ddywedir fod yr argraffiad wedi ei fwriadu ar gyfer yr efrydydd yn gystal a'r darllennwr cyffredin.

Dymunaf gyflwyno fy niolch cynnes i Mr. W. Prichard Williams, Cae'r Onnen, Bangor, am ei garedigrwydd yn rhoi benthyg ei gopi gwerthfawr o'r argraffiad cyntaf i argraffu a chywiro'r gwaith. Dymunaf hefyd dalu fy niolch goreu i Mr. W. A. Foster, am y gofal manwl a gymerth ynglŷn â'r argraffu, ac am ei awydd i wneuthur popeth yn y dull goreu a chywiraf a harddaf heb arbed na thrafferth na chost.

J. MORRIS JONES.

*Calan Medi*, 1898.

# COFNODION PLWYFI ELLIS WYNNE.

MEWN adolygiad yn *Nhaliesin* Chwefror, 1861, ar gyfieithiad Borrow ac argraffiad cyntaf Canon Silvan Evans o'r Bardd Cwsc, fe ddywedwyd am briodas Elis Wyn â Lowri Wyn o Foel y Glo; ond gan fod yn yr erthygl liaws o bethau disail, nid rhyfedd na chredwyd mo honiad moel ei hawdwr am hyn chwaith. Ni chrybwyllir gair am y peth yn argraffiadau diweddarach Silvan Evans, nac yn rhagymadrodd Mr. R. Gwyneddon Davies, na *Hanes Llenyddiaeth* Mr. Ashton. Fe'i hadroddir gan Mr. Foulkes, yn argraffiad 1886, gyda'r rhagair petrus "Dywed un awdwr,"[1] ac nis gellir gwell na hyn lle na bo modd cael sicrwydd; ond dyma hanes y gellid ei wirio ar unwaith trwy edrych cofrestr Llanfihangel y Traethau neu Landanwg, os oedd un o honynt ar gael. Ni feddyliais i na chwiliesid yn drwyadl eisoes bopeth cyrhaeddadwy; ond tybiwn y dylwn weled y profion er barnu trosof fy hun. Yng Nghofrestrfa Bangor cefais edrych y copïau a yrrid yno o flwyddyn i flwyddyn o restri plwyfi 'r esgobaeth; ond methais a chael copi Llanfihangel yn rhôl 1698 na chopi Llandanwg yn rhôl 1699. Felly nid oeddwn fawr nes, ond gwelais yn eglur wrth edrych copïau blynyddoedd diweddarach, nad aethai neb i drafferth i chwilio hyd yn oed gofrestr Llanfair, er fod cofnod neu ddau o'r rhestr honno wedi eu cyhoeddi fwy nag unwaith. Cefais, ar ol ymholi ychydig, fod hen gofrestri Llanfihangel a Llandanwg

[1] Dyfynna Mr. Foulkes o ail-adroddiad o'r hanes yn y *Brython* v. 130.

yn gystal a chofrestr Llanfair eto ar gael, ond nad oedd yn Llanbedr ddim hŷn na 1745.

Fe allai y bydd yr hanes a geir yn yr hen gofrestri yn eglurach, os dywedir gair yn gyntaf am safiad y lleoedd a enwir ynddynt. Tu a chanol Morfa Harlech, rhwng y ffordd haearn a'r bryniau, ymgyfyd bryncyn o'r gwastadedd; hwn ydyw'r Las Ynys. Gwelir wrth ei droed o'r trên ffermdy newydd, taclus yr olwg; ond wrth droed y bryncyn yr ochr arall y mae 'r hen dy, a'i wyneb at y mynyddoedd. Pan safwn yn y cae o'i flaen, gwelwn gastell Harlech tua'r de orllewin fel *silhouette* yn erbyn haul y prynhawn. Saif Glyn Cywarch ac Eglwys Llanfihangel yng ngogledd y Morfa, yr Eglwys ar godiad tir i'r gorllewin o'r ffordd haearn, tua milltir a hanner o'r Las Ynys fel yr hed y frân, a Glyn Cywarch i'r dwyrain wrth odre'r bryniau filltir a chwarter o'r Las Ynys; a thua milltir ymhellach i'r dwyrain yn yr ucheldir saif Moel y Glo. Y mae'r Las Ynys ym mhlwyf Llandanwg; ymestyn y plwyf ymhell i'r mynydd-dir, cynnwysa dref Harlech a rhimyn gyda'r môr i'r de iddi; ac ymhen isaf y strip hwnnw y mae'r eglwys, tua milltir a hanner o'r dref ac yn agos i dair o'r Las Ynys. Nid oes wasanaeth yn yr hen eglwys yn awr, nac un sêt na phulpud ynddi; tywod y môr yw ei llawr, ac o'r tu allan y mae'r tywod yn prysur gladdu'r beddau; cynhelir gwasanaeth y plwyf bellach yng nghapel y garsiwn yn Harlech. Gyferbyn bron a'r hen eglwys tua hanner milltir i fyny ar ochr y bryn, a rhywfaint agosach i Harlech ac i'r Las Ynys, saif pentref ac eglwys Llanfair; ac o fewn milltir a hanner i'r de drachefn y mae pentref ac eglwys Llanbedr. Y mae darn o blwyf Llanfair i'r de wedyn o Lanbedr, ac yn y darn hwnnw y mae Tal y Treiddyn.

Yr oedd Llandanwg a Llanbedr fel yn awr yn un fywioliaeth, er fod plwyf Llanfair yn dyfod i lawr o'r mynydd rhwng y ddeublwy, ac yn eu gwahanu. Fel y gwelwyd wrth y nodyn ar dudalen ix, y fywioliaeth hon a gafodd Elis Wyn gyntaf, a hynny yn 1705; ond gallesid meddwl wrth y gair "both" yn y nodyn, iddo gael Llanfair ati yn 1711. Eithr nid gwir hynny, canys ni ddaliodd efe mo'r gyntaf pan gafas yr ail, fel

y dengys y nodyn a ganlyn sydd ar dudalen cyntaf cofrestr Llandanwg :

Olim hæc meminifse juvabit :
Llandanwg :
Humphredus Thomas Rector 1680
Elizæus Wynne Rector 1705
Robertus Wynne Rector 1711
Johannes Hughes Rector 1730
[1] Robertus Nanney Rector 1774

A derfydd llawysgrif Elis Wyn yng nghofrestr Llandanwg ar y 29ain o Ebrill, 1711, a dechreua yn Llanfair ddiwedd Mai. Nid gwr i gydio maes wrth faes oedd efe, hyd yn oed pan oedd hynny 'n beth digon cyffredin yn yr Eglwys. Yn hytrach, am fod Llanbedr yn rhy bell iddo 'i gwasanaethu 'n effeithiol o'i gartref, newidiodd ei fywioliaeth am un lai ei gwerth.

Bellach am ei helyntion teuluaidd. Ni welais mo gofrestr Llanfihangel y Traethau ; ond bu'r Rheithior, y Parch. James Evans, mor garedig ag anfon imi 'r copi a ganlyn o'r cofnod am briodas Elis Wyn. Y mae ymyl y ddalen wedi torri fel nas gellir darllen mo'i enw bedydd ef, na'r dydd o'r mis :

[ ] Wynne Gent of Laefynys in ye Parish of Llandanwg [&] Mrs Lowry Wynne of Moelygloe were mariet the [ ] September Anno Dom. 1698.[2]

Yn ol ysgrifennydd yr erthygl a grybwyllwyd, claddwyd Lowri Wyn a'i chyntafanedig yr un dydd : prudd yn wir fuasai hyn, ond os yw bosibl y mae 'r gwir yn bruddach—bedyddio 'r mab ar arch ei fam. Dyma'r cofnodion o gofrestr Llandanwg :

Louria Wynne uxor Elifæi Wynne d Lâs
ynys fepulta fuit decimo die Julij 1699
Edvardus filius Elizæi Wynne et uxoris
ejus prædic. baptizatus fuit eodem die.

Ni bu'r baban fyw ond blwydd a deng mis :

Edwardus Wynn infans sepultus fuit ultimo Die Aprilis } 1701

[1] Y llinell hon mewn llaw ddiweddarach.

[2] Tua dechreu'r ddeunawfed ganrif y daeth Miss yn gyffredin fel teitl i ferched ieuainc.

Rhag bod camgymeriad, chwanegodd rhywun cyn pen llawer o flynyddoedd wedyn ar ol y gair "infans" uwchben y llinell "filius Elizei Wynn de Lâs ynus," a thrachefn ar ol y gair "Wynn" uwchben y llinell hon, "et Lowri."

Y mae'n ddigon hysbys ddarfod i Elis Wyn briodi Lowri Llwyd yn eglwys Llanfair, Chwefror 14, 1702. Dyma'r cofnod:

> Elizæus Wynne (Generosus) de Lâs ynis et | Lowria | Lloyd (*de Havod lwyfog in agro Arvonensi*) in matrimonio conjuncti | fuere decimo quarto die Feb. } 1701-2 1702 1702

Wedi eu hychwanegu uwchben y llinell y mae 'r geiriau sydd rhwng cromfachau; y mae "Generosus" yn yr un llaw a'r cofnod, ond llaw ddiweddarach a ychwanegodd "de Havod lwyfog;" y mae'n debyg i law William Wynn. Yn y cofnod yng Nghofrestrfa Bangor dyma a ddywedir:

> Elizeus Wynn de Lâs ynus et | Lowria Lloyd de Talytreiddun in | matrimonio conjuncti fuere decimo | quarto die Februarij

Gwelir mai Tal y Treiddun a enwir yma fel cartref Lowri Llwyd; ac y mae 'r cofnod yn bwysig am mai ei dystiolaeth ef yw'r hynaf. Yn union ar ol y 24ain o Fawrth yr oedd y copïau i'w gyrru i Fangor; a rhaid felly yr ysgrifennwyd hwn ymhen rhyw ddeufis ar ol y briodas, tra nad oes wybod pa bryd yr ychwanegwyd "Havod lwyfog" yn y gofrestr. Ac eto y mae 'r chwanegiad yn bur hen; y mae 'r traddodiad o'i blaid; a dengys y gofrestr mai Wynne, ac nid Llwyd oedd cyfenw teulu Tal y Treiddun. Ond gall nad yw 'r ddau adroddiad yn anghyson. Tebyg mai gwir y traddodiad mai o'r Hafod Lwyfog yr hanoedd Lowri, ond ei bod wedi cartrefu gyda Wynniaid Tal y Treiddun. Eglurai hyn pa fodd y daethai Elis Wyn i gydnabyddiaeth a hi, a'r rheswm iddynt briodi yn Llanfair. Yn y plwyf hwn y mae Tal y Treiddun, a phaham yr elai efe o'i blwyf ei hun i'r plwyf nesaf i briodi gwraig o lan Llyn Gwynain?

Dywed y golygyddion a'r cofianwyr mai pump o blant a fu iddynt, ac mai William oedd y mab hynaf.

Y gwir yw, bu iddynt naw, ac Ellis oedd yr hynaf. Dyma'u henwau gyda'r dydd y bedyddiwyd ac y claddwyd pob un, hyd y maent i'w cael yng nghofrestri Llandanwg a Llanfair; a dodir y cofnodion eu hunain ar ddiwedd y bennod:

| | Bedyddiwyd. | Claddwyd. |
|---|---|---|
| Ellis | 28 Rhag. 1702 | 10 Hyd. 1732 |
| William | 15 Gorff. 1704 | 14 Gorff. 1761 |
| Elen | 19 Awst 1705 | |
| Edward | 8 Medi 1706 | 27 Medi 1706 |
| Anne | 18 Medi 1709 | 8 Mai 1721 |
| Laurella | 29 Ebr. 1711 | |
| Catherine | 19 Hyd. 1712 | 31 Ion. 1716 |
| Mary | 2 Chwef. 1714 | 26 Rhag. 1715 |
| Edward | 25 Maw. 1715 | |

Y mae i draddodiad yn gyffredin ryw sail; a gwelir yn yr uchod sail y traddodiad mai pump o blant a fu i Elis Wyn, tri mab a dwy ferch. Dyna'r nifer a dyfodd i oed, ac felly a lynodd yng nghof gwlad. Bu tri farw o flaen eu mam, ac un ychydig fisoedd ar ei hol.

Yn yr hen restri cofnodir pob digwyddiad yn ddigon sych, mewn geiriau ffurfiol, heb arwydd ynddynt o'r llawenydd neu'r galar a berid ganddo. Ond daeth i ran Elis Wyn groniclo a'i law ei hun y pethau a aeth agosaf at ei galon, a gellir darllen llawer mwy na'r geiriau yn ei gofnodion ef. Claddodd ei wraig yn 1720, ar ol cydfyw â hi am ddeunaw mlynedd; ac yn nydd ei brofedigaeth rhaid oedd cofnodi hynny yn y llyfr. Amlwg yw na wyddai yn ei drallod pa beth yr oedd yn ei wneuthur; dyma'r hyn a ysgrifennodd:

Louria Uxor Elizei Wynne Cler. decimo septimo die Angti Año Dom. 1720.

sef "Lowri gwraig Elis Wyn offeiriad yr ail ddydd ar bymtheg o Awst, A.D. 1720." Anghofiodd ddywedyd "a gladdwyd," a methodd yn y dydd o'r mis. Gweler dros y ddalen lun y copi a anfonodd efe i Fangor ymhen rhyw saith mis; yn hwn dywedir mai ar y 23ain y'i claddwyd hi. Ai 'r ail ar bymtheg oedd dydd ei marw, ac yntau fel petai amser wedi sefyll iddo ar y dydd hwnnw? Beth bynnag, fe gollodd

gyfrif y dyddiau, ac nid arhosodd ond amcan am dano yn ei gof. Canys pan aeth efe, ymhen hir amser fe allai, i gywiro 'r gwall yn y gofrestr, tybiai mai ar y 24ain y'i claddesid. Dyma fel yr edrych y cofnod yn awr, mor debyg ag y gellid trwy rathu llythrennau ei ddangos mewn argraff :

*de Lasynys* vigesimo
Louria Uxor Elizei Wynne Cler. |decimo sept|-
quarto
-imo] die Aug^ti^ ſepulta eſt Año Dom. 1720

Rhywun arall a ychwanegodd *de Lasynys*, ond yn ei law ef y mae 'r cyfan oddieithr hynny. Ni ddilëodd mo'r "decimo septimo" (yr 17eg), ond amgaeodd y geiriau a llinell ysgafn, fel petai rhywbeth yn gysegredig ynddynt iddo ef; ac ysgrifennodd "vigesimo quarto" (y 24ain) uwch eu pen. Yna dododd "sepulta est" (a gladdwyd) yn nechreu'r ail linell, ond gwelai eu bod yn sefyll yng nghanol y rhif, rhwng y "vigesimo" a'r "quarto;" dilëodd hwynt fel mai prin y gellir eu darllen, a gwasgodd hwynt i'r lle gwag yng nghanol y llinell; ac hyd yn oed yn awr safant rhwng y mis a'r flwyddyn. Druan o'r hen fardd.

Ymhen ychydig fisoedd cyfarfu â phrofedigaeth arall; claddodd ei ail ferch Ann yn eneth un ar ddeg a hanner oed. Ond nid tywyll yw popeth sydd yn yr hen gofrestr chwaith; fe welodd yntau ambell ddiwrnod teg. Ar y 23ain o Awst, 1724, bedair blynedd i'r diwrnod du y claddwyd Lowri, priododd ei ferch hynaf, Elen, â Robert Owen o'r Ty Gwyn:

*de Tygwyn*
Robertus Owen & Elēna Wynne in Matrimonio
conjuncti fuerunt viceſimo tertio die
Menſis Auguſti, Año Dom. 1724

Ysgrifen benigamp yw hon; y mae rhyw hoewder yng nghwafriad pob llythyren a bair i'r cofnod sefyll allan o blith cofnodion y tudalen. Y mae'r arddull hefyd yn fwy blodeuog nag arfer; nid "vicesimo tertio die Aug^ti^." ond "vicesimo tertio die Mensis Augusti."

Ni fu achos i Elis Wyn groniclo rhagor o'i helynt yn y gofrestr hyd ymhen yr wyth mlynedd, pan fu farw ei fab hynaf Ellis, yn wr ieuanc deg ar hugain oed :

Nomina Baptizatorum Sepultorum
in matrimonio conjugatorum infra pa[ro]chia
de Llanvair Harlogh 1720

Margaretta filia Elizei Evan sepulta est
undecimo die Maij Ano Dni 1720

Margaretta filia Elizei p[re]dicti & Uxoris ejus baptiz
ata est quindecimo die Augti A.D. 1720

Louria Uxor Elizei Wynne Cler sepulta
est vicesimo tertio die Augti A.D. 1720

Joanetta Ellis Uxoris Evani Morris sepultu
est decimo quarto die Septembris A.D 1720

Evanus Lloyd & Anna Prys in Matrimonio
conjugati fuere vicesimo sexto Octobris — 1720

Johañes Lewis sepultus est vicesimo die Decbris 1720

Margaretta 2da hujus nominis filia Elizei
Evan p[re]dicti & Uxoris ejus sepulta est vi- } 1720
cesimo 2do die January A.D

Johañes Evan & Joanetta William in Matro
conjuncti fuere quarto die Decembris 1720

Griffinus Owen sepultus est primo die Martij
Ano Dni 1720

Sibylla filia Edwardi Griffith & Uxoris ejus
sepulta est Octavo die Martij 1720

David filius Samuelis John Lewis et Uxoris
ejus sepultus est vicesimo tertio Martij 1720

Elizeus Wynne junr. de Lasynys sepultus est decimo die Octobris A.D. 1732

Nid oes yma ddim tebyg i gwafrio; y mae tro'r E gyntaf braidd yn ansicr, yna fel pe mewn ymdrech â'i deimlad, ysgrifennodd y rhelyw dipyn yn wasgedig, bron yn grebachlyd. A'r peth rhyfeddaf yw, nid ymddengys y cofnod yn y copi a anfonodd efe i Fangor ym Mawrth 1733. Ai rhy drom i'w chario oedd y groes? Nis gwn; ond credaf mai hyn a fyrhaodd ei ddyddiau. Yn Nhachwedd, 1733, aeth yn rhy wael i ddilyn ei waith; ysgrifennodd ei gofnod olaf Tach. 4, ac ymddengys llaw newydd Tach. 18. Ychydig yn is i lawr y mae 'r cofnod adnabyddus am ei gladdedigaeth ef:

mus
Elisæus Wynne Cler. nuper Rector dignisſi hujus Ecclesiæ sepultus est 17mo die Julij 1734

Y mae'r ysgrifen yn llawer brasach na dim arall ar y tudalen, a'r llaw fel rhyw gysgod aflerw o law Elis Wyn. Ysgrifen ei fab William ydyw hi. Bu hoff gennyf gynt y cofnod hwn, o achos y modd y dywed am Elis Wyn; Rector *dignissimus*—nid hawdd ei gyfieithu, prin y mae "teilyngaf" neu "most worthy" yn llanw 'r ystyr. Nid llai fy meddwl o'r geiriau 'n awr, wedi gweled mai offrwm y mab ar fedd ei dad oeddynt. Y maent yn gwbl anrhydeddus i'r naill a'r llall.

Gan i'r mab hynaf Ellis farw o flaen ei dad, i William y disgynnodd yr etifeddiaeth; efe hefyd a gafodd fywioliaeth Llanfair ar ol ei dad. Yn y gofrestr, ar waelod y tudalen a ddechreua "A copy of Llanvair Terrier," y mae cofnod am £5 a adawodd Richd. Lloyd Cwmbychan yn 1736 i dlodion y plwyf. Llofnodir y cofnod "William Wynn Rectr." Felly yr ysgrifennai William ei gyfenw, ac felly y'i hysgrifennodd gyntaf yn enw 'i dad yng nghofnod ei gladdedigaeth, canys y mae 'r *e* mewn inc gwahanol. Y mae'r ddau gofnod hyn yn yr un llaw fras, llaw seremonïol William Wynn. Ar y tudalen nesaf cofnodir "William Wynne of Lasynys Rector of this Parish bequeathed Ten pounds to the poor of the said parish. . . . The said Mr Wynne

Dyed in July 1761." Cafodd hefyd fywioliaeth Llanaber. Bu'r Parch. E. Hughes mor garedig ag edrych y gofrestr, a dywed mai yn 1749 y daeth William yn rheithior ac mai Wynn yr ysgrifennai ei enw ar y dechreu, er ei fod yn newid i Wynne yn ddiweddarach. Yn 1754, llofnoda Edward Wynne. Tebyg mai brawd y rheithior oedd hwn; a gwelaf yng nghofnodion Bangor ei fod yn gurad iddo o'r dechreu. Dywedir i William briodi merch y Trallwyn; bu iddynt ferch a briododd Robert Pugh o'r Garth Maelan; a mab iddynt hwy, John Wynn Pugh a werthodd yr etifeddiaeth.

Bu Edward, mab ieuengaf Elis Wyn, yn berson Penmorfa o 1759 hyd 1767, a'i fab yntau, Ellis, yn berson Llanferras. Mab i'r Ellis hwn, John Wynne, person Llandrillo, a osodes y ffenestr liwiedig yn eglwys Llanfair er cof am Elis Wyn.

Honnai O. W. Jones (Glasynys) ei fod yn disgyn o Elis Wyn drwy ei ferch Anne.[1] Gwelwyd uchod fod Anne wedi ei chladdu cyn bod yn ddeuddeg oed. Nis gallai ychwaith fod wedi deillio o'r un o'r merched ereill; bu Catherine a Mary feirw yn fabanod; gwelwyd ddarfod i Elen briodi Robert Owen o'r Ty Gwyn, nid "Owen ab Sion Wynn o Lecheiddior;" yna nid oes yn aros ond Laurella. Tebyg mai Lowri y'i gelwid yn gyffredin, a dywedir iddi briodi John Hughes, a fu'n berson Llanbedr o 1730 hyd 1774. Y mae'n sicr mai Lowri oedd enw gwraig John Hughes, a cheir rhestr o'u plant yng nghofrestr Llandanwg. Ganwyd eu merch Anne yn 1750; priododd hon John Hartley o Ynys Gyffylog, ac adroddai eu mab Lewis Hartley ei linach ar gân:

> Lowri Wyn heini oedd ferch yr hen fardd,
> Priododd y Person yn Llanbed, wr hardd;
> Fy mam ddaeth o'r rheiny, a minnau ger bron
> Yn byw yn Llanegryn a'm pwys ar fy ffon.[2]

Wyr i'r Lewis Hartley hwn ydyw Mr. Lewis Hartley, Bangor.

[1] *Taliesin* ii. 277. [2] Idris Fychan, *Hanes Dolgellau*, td. 66.

Elena filia Elizæi Wynne Cler: ~~[illegible]~~
& uxoris ejus baptizata fuit
decimo nono die Augusti A.D. 1705.

S) Evanus Lloyd paup. Sepultus fuit
decimo quarto die Octobris A.D. 1705

S) Cadwaladerus Owen paup Sepultus fuit
vicessimo quinto die Octobris — 1705

B) Jana filia Leolini ap Llywelyn paup &
uxoris ejus baptizata fuit unde-
cimo die Novembris. A.D. 1705.

M. Gulielmus Parry & Catherina vch Evan
paup in Matrimonio conjuncti fuêre
decimo octavo die Nov^bris. A.D. 1705

A ganlyn yw'r cofnodion am blant Elis Wyn a Lowri Llwyd. O gofrestr Llandanwg:

> Ellizeus Wynn filius Ellizæi Wynn (gener.) | et Lowriæ Lloyd uxoris ejus | baptizatus fuit vicessimo | octavo die Decem bris A.D. 1702.
>
> Gulielmus filius Elisæi Wynne gener. & Lowriæ | uxoris ejus baptizatus fuit decimo quinto | die Julij A.D 1704

O hyn allan y maent yn llaw-ysgrifen Elis Wyn. Tynnais lun darn o'r tudalen cyntaf hwn, i gael y bloc gyferbyn, am mai dyma'r ysgrifen agosaf a gefais o ran amser i'r pryd yr ysgrifennwyd y Bardd Cwsc.

> Elena filia Elizæi Wynne Cler. | & uxoris ejus baptizata fuit | decimo nono die Augusti A.D. 1705.
>
> Edvardus filius (huj. nominis 2dus) Elizæi Wynne Cler. | & uxoris ejus baptizatus fuit apd. Llanfair | octavo die Septbris. Aō Dñi 1706

Ond nid oes gofnod i'r perwyl yn Llanfair; gall mai gwall am Lanbedr yw. Y mae'r cofnod nesaf ato wedi ei ddryllio yngwaelod y ddalen. Dodaf ef yma o gopi Bangor o gofrestr Llanbedr:

> Idem Edvard9 sepultus fuit vicesimo septimo Septbris. Ao Dñi 1706.

O gofrestr Llandanwg eto:

> Anna filia Elizæi Wynne & Lauriæ uxoris | ejus baptizata est decimo octavo die | Septembris Año Dñi 1709.
>
> Laurella filia Elizæi Wynne Clri. & ejus Uxoris | baptizata est vicesimo nono Aprilis 1711.

Dyma'r cofnod olaf yn llaw Elis Wyn. Y mae bedydd Catherine ac Edward yn rhestr Llandanwg hefyd, ond dodaf hwynt yma o restr Llanfair, sy bellach hyd 1733 yn ei law-ysgrifen ef:

> Catherina filia Elizæi Wynne Clri. & ejus Uxoris | baptizata est eodem die [i.e. decimo nono die Octobris] 1712.
>
> Maria filia Elizæi Wynne Clre. [*sic*] & Lauræ | ejus Uxoris baptizata est secundo Febrij A.D. 1713.
>
> Edvardus filius Elizæi Wynne & ejus Uxoris bapti|zatus est vicesimo quinto die Martii A.D. 1715.
>
> Maria filia Elizæi Wynne Rector. se|pulta est vicesimo sexto die Decbris. 1715.
>
> Catherina filia praedicti Elizæi Wynne | & Lowriæ ejus Uxoris sepulta est tri|cesimo primo die Januarij A.D. 17[15-16].
>
> Anna filia Elizei Wynne Cler. sepulta est Octa|vo die Maij 1721.
>
> 1761. July 14. The Rev Mr Wynne (late) Rect. of this Parish | was buried.

Yn y cofnodion ar dudalennau lx a lxix danghosir diwedd llinell yr ysgrif â'r arwydd | ; argreffir y lleill oll linell am linell.

Y mae ysgrifen Elis Wyn, fel ei iaith, yn glir a chref. Amlwg yw mai 'r hen ffurfiau italig oedd ei gynllun; a hynny a achosai 'r duedd i sgrifennu 'r llythrennau ar wahân. Braidd na welid wrth ei law ei fod yn rhywun arbennig; nid oes yn y cofrestri ddim cyffelyb iddi. Er fod rhyw atgof o honi yn llaw fras William (gwelswn hyn cyn gwybod mai eiddo William oedd), eto y mae'r annhebygrwydd yn llawer mwy. Diafael yw tro llythyren William, a chyfetyb i'w lacrwydd yn cadw'r gofrestr. Hyn a bair i mi dybied mai 'r mab hynaf Ellis, y mab a fu farw, oedd gobaith ei dad. Cadwodd Elis Wyn ei gofrestri 'n fanwl; yn ei law ef y mae pob cofnod o ddechreu i ddiwedd ei dymor. Felly, hyd ei waeledd olaf, cafodd iechyd i ddilyn ei orchwyl, ac fe'i cyflawnodd yn ddiesgeulus ei hun.

Y mae llofnod Elis Wyn yn un nodedig. Cymerwyd yr esiampl hwn o gopi Bangor o gofnodion Llandanwg am 1706. Y mae llun y llofnod hwn a'r darn dalen o gofrestr Llandanwg yn eu hunion faint, ond tynnodd Mr. Wickens lun copi 1720 yn llai, er mwyn iddo fynd yn hwylus i'r tudalen.



Y mae fy niolchgarwch goreu 'n ddyledus i'r Cofrestrydd, Mr. R. Hughes Pritchard, am ganiatad rhydd a phob hyrwyddiant i chwilio cofnodion y Gofrestrfa; i Mr. D. A Jones, Cadeirydd Cyngor Plwyf Harlech, am roddi i mi bob mantais i edrych cofrestr Llandanwg a chymryd llun ei hysgrifen; ac i'r Parch. Jenkin Davies, Person Llanfair, a'm cares Mrs. Davies, am gyfleusterau i edrych cofrestr Llanfair, ac am lawer o garedigrwydd imi ar fy mhererindod yng ngwlad y Bardd Cwsc.

# ORGRAFF Y BARDD CWSC.

CYN y ddeunawfed ganrif ni bu ond un ysgrifennydd o bwys yn ymyrraeth a'r orgraff o herwydd syniadau geirdarddol; hwnnw oedd Wm. Salesbury. Gwelsai Salesbury fod amryw eiriau Cymraeg yn tarddu o'r Lladin, a thybiai mai po debycaf i'r Lladin yr ysgrifennid hwynt, goreu oll a fyddai'r orgraff; am hynny, ysgrifennai *popul*, *scripthur*, *eccles*, am *bobl*, *ysgrythur*, *eglwys*. Ni pharhaodd effaith ei sillebiaeth, ond yn y gair *ei* yn lle *i (his*, Llad. *eius)*, ac yn y rhagddodiad *de-*, a ysgrifennid yn lle *di-* mewn geiriau fel *destryw*, *descyn*. Gwelir y rhai hyn gan Elis Wyn, ac wrth gwrs ysgrifennir *ei* gan bawb hyd heddyw.

Fe sylwyd uchod mai 'r hen orgraff draddodiadol oedd orgraff y Bardd Cwsc; nid yw 'n amrywio nemor oddiwrth orgraff gyffredin yr oesoedd hynny, oddigerth ei bod yn cynnwys mwy o ffurfiau llafar nag sydd, dyweder, ym Meibl 1620. Dyblid cydsain pan ddisgynnai 'r acen yn drom arni, fel yn *cannu*, to whiten; a phan ddisgynnai 'n ysgafn gadewid hi'n sengl fel yn *canu*, to sing. Ond ceisiodd Pughe a'i ysgol benderfynu wrth y *tarddiad* pa bryd i ddyblu; sylwais mai ychydig o'i syniadau ef oedd yn wreiddiol; gan Oronwy y cafodd hwn.[1] Ond gan fod eu damcaniaeth am y tarddiad yn gyffredin yn anghywir, y mae eu sillebiaeth yn anghywir hefyd. Gwyddys yn awr mai tarddiad dwbl ydyw 'r *rheswm am* yr acen drom; ac felly yr oedd orgraff yr hen bobl a sillebai yn ol yr acen yn gywir bob amser, a dyna lle mae gwerth eu tystiolaeth hwy. Wrth natur yr ysgrifennent, a threch natur na dysgeidiaeth. Mewn gair ansathredig fel

[1] *Llythyrau*. arg. Lerpwl, td. 116.

*tarennydd*, fe welir wrth orgraff Elis Wyn pa fodd i'w seinio ac i olrhain ei darddiad; ond ni welir yn y ffurf *tarenydd* a roes Silvan Evans arno yn ei argraffiad ef na'r sain priodol, nac ond syniad anghywir y golygydd am ei darddiad. Deil Silvan Evans fyth at gyfundrefn eirdarddol Pughe, ond yr wyf yn methu a chanfod ei egwyddor o'i chymhwyso. Ysgrifenna *hyny* ag un *n* am nas gwyr ei darddiad, dyry ddwy yn *cannu* (gair o'r un gwraidd a'r Llad. *candeo*), ond ni ddyry ond un yn *disgynu*, er ei fod yn *gwybod* mai o *descendo* y tardd. Pa gysondeb sydd yn hyn? Yr oedd Pughe o leiaf yn gyson yn ei anghywirdeb. Fe ddylid eto ddyblu 'r llythrennau petrus *n* ac *r* i ddangos rhagor rhwng acen drom ac ysgafn, a tharddiad dwbl a sengl (canys y mae 'r ddau beth yn cyd-fyned); ond y mae *t*, *p*, *c*, *s*, *m* yn wastad yn ddwbl eu tarddiad, a'r acen arnynt yn drom, ac felly gan nad oes dim i'w wahaniaethu, a chan fod y llythyren ynddi ei hun, megys, yn ddwbl, ni raid ei dyblu. Yn unig bydder yn gyson. Dybla Silvan Evans yr *m* yn *ammharch* a gedy hi 'n sengl *cymhar*—paham? O *mp* y tardd y ddwy.

Hyd amser Elis Wyn ysgrifennid y cydseiniaid yn galed ar ol *s*, megys *cyscu*, *cospi*; ysgrifennir *t* yn galed fyth,—nid *eisdedd* ond *eistedd*. Nid mater o darddiad yw hwn, ond o gyfleu 'r sain. Y mae llawer gradd o galedwch rhwng *g* ac *c*; a rhwng y ddwy y mae 'r sain ar ol *s*. Gall fod y *t*, er nad mor galed a *t* gyffredin, rywfaint caletach na'r *c* neu 'r *p*; a theimlad y genedl, nid eu hymresymiad, a barodd iddynt gytuno i adael y *t* yn galed, ac ysgrifennu 'r ddwy arall yn feddal; ac nid oes dim i'w ennill drwy fyned yn ol i'r hen ddull.

Nid ar y cydseiniaid yn unig yr effeithiodd geirdarddaeth Pughe. Gwyr pawb am ei gyfundrefn wreiddeiriol ef; holltai air i'w wreiddiau, a holltai wreiddiau syml wedyn hyd oni chaffai o'r diwedd elfennau dychmygol o ddwy lythyren; gan Rowland Jones o'r Weirglodd Fawr y cafodd y syniad hwn.[1] Y cam cyntaf i hollti gwraidd syml fel *craidd* (Groeg κραδίη) oedd tynnu 'r *dd*, yna ceid *crai*; ac felly, newidiodd sillebiaeth y gair *crau* i'w wneud yn un a

[1] *Y Brython*, i. 35.

hwn. (Gweler yr Eirfa d.g. *crau*). Bryd arall gadewid i'r gwraidd lonydd, a newidid y gair cyfansawdd tybiedig; felly trowyd *cogiwr* yn *coegiwr*, er cael *coeg* yn wreiddyn iddo. Danghosodd Silvan Evans yn ei Eiriadur eudeb y ddamcaniaeth am *crau;* ond ysgrifenna *coegio* fyth, a dyfynna *coegiwr* o'i argraffiad ei hun o'r Bardd Cwsc er mwyn cael awdurdod Elis Wyn dros air na ysgrifennodd efe erioed mo hono. Y mae'r Bardd Cwsc, os ceir ef fel y mae, yn gywir yn y fath ffurfiau a hyn. Cymerer un engraifft eto. Newidiwyd *disglair* i *dysglaer*,[1] er mwyn ei darddu 'n rhwyddach o'r ffurf gyfochrog *claer;* ond *disglair* ydyw 'r hen ffurf yn wastad, ac nid anodd profi ei gywirdeb. Os *ae* fydd yn y gwreiddyn arferir *u* i wneuthur berfenw, megys *taeru*, *gwaelu*, *saethu;* os *ai* arferir *io*, megys *cyweirio*, *seilio*, *teithio*, a *disgleirio* nid *disglaeru*. Ni welir fyth mo'r hen feirdd yn odli 'r gair â *taer*, *saer*, ond â *gwair*, *tair*, *Mair:*

> Coed osglog caeau *disglair*
> Wyth ryw yd, a thri o *wair*.
> *D. ap Gwilym*, Chwan. xiv.

Y mae 'r rhagddodiaid *di-* a *dy-* hefyd yn gywir gan Elis Wyn, oddigerth lle dyry *de-* Salesbury yn lle *di-*. Ond tybiodd Dr. Pughe mai manyn negyddol oedd *di-*, a *dy-* yn gadarnhaol. Gan Dr. Davies y cafodd y syniad hwn;[2] ond ni chamsillebodd Dr. Davies eiriau 'r iaith ar sail ei gamgymeriad. Newidiodd Silvan Evans orgraff Elis Wyn i orgraff Pughe yn y geiriau hyn ac ysgrifennodd *dyben*, *dystaw*, &c.; ond yn ei Eiriadur silleba'r rhan fwyaf o honynt yn gywir. Eto deil at yr hen syniad mai manyn negyddol ydyw *di-*, a dywed rywbeth i'r perwyl yma—"oni bai mai *diben* sy'n iawn, buasai *dyben* Pughe yn well." Nid amheua gywirdeb hen ddamcaniaeth ei oes, er ei bod yn gwrthod ffitio â'r gwir; pob parch iddo'n awr am roi'r blaen i'r gwir. Ond fe *ddylai* 'r iaith a'r ddamcaniaeth am dani gytuno; os na wnânt, y mae rhywbeth o'i le. Wrth gwrs nid yr iaith ond y ddamcaniaeth sy'n anghywir. Nid manyn nacaol ydyw *di*,

[1] Gwnaed hyn gyntaf yn Salesbury; ond dengys orgraff y B. Cwsc na ddilynwyd mo'r ymyrrwr hwnnw.
[2] *Ant. Ling. Brit. Dict.* s.v. diben.

ond arddodiad fel y Lladin *de*, a chymer le hwn yn y geiriau a dardd o'r Lladin fel y gwelodd W. Salesbury. Nid yw manyn nacaol yn newid rhan ymadrodd; enw ydyw *parch*, ac enw ydyw *amharch:* ond nid enw ydyw *di barch*. Nis gellir rhoi *nid* yn lle 'r *di-* hwn; y mae 'n arddodiad mor wirioneddol a *heb;* di barch, heb barch. Nid cyfansoddair priodol a ffurfir pan fo *di* yn gyfystyr a heb; eithr pan fo 'n wir gyfansawdd ystyr *di-* ydyw *de-*, *out*, *allan*. *Pen* end, *diben* outer end; *dilyn*, follow out; *disgwyl*, edrych allan; *didoli*, cut off. O'r ochr arall y mae *dy-* yr un peth a'r Wyddeleg *do-* a'i ystyr yw *at*, *ynghyd;* fel yn *dygynnull*, cynnull ynghyd, *dyfynnu*, mynnu at, summon to; *dygyfor*, gather together. Yn y gair *dybryd* gellid meddwl mai gwall am *di-* ydyw'r *dy-*; ond nid gwir hyn canys *do-chruth* ydyw'r gair yng Ngwyddeleg; tybia Brugmann mai 'r Ariaidd *dus-* ydyw hwn, Gr. *δυσ-*, o'r ystyr *mis-*; *dybryd*, mis-shapen. Y mae rhai o'r geiriau hyn eto 'n anghywir yng ngeiriadur Silvan Evans; dyry *dynoethi* yn lle *dinoethi*, strip *off* (nid strip *to*) Llad. *de*-nudo; a dyry *dy-fetha* ar y dyb fwy nag amheus mai o'r gair *methu* y tardd. Nid oes eisiau damcaniaethu er ysgrifennu'r rhagddodiaid hyn yn gywir. Ni ddamcaniaethodd Elis Wyn; ni threuliodd funud i ymholi pa un ai sych ai gwlyb oedd y gwraidd *-od* i wybod pa un ai *dyod* ai *diod* a ysgrifennai; eithr dododd ar lawr sain naturiol y gair, ac felly ysgrifennodd yn gan cywirach na geirdarddwyr y ganrif hon.

Fe sylwir ar un peth go hynod yn y llyfr; petrusder yr awdwr ynglŷn a'r cyfnewidiad cydsain gyda'r arddodiad *yn*. Nid oes anhawster pan fo'r gydsain gyfnewidiedig yn *n* neu *m;* gellir dywedyd yn Ninbych, ym Mangor; ond nid mor hawdd trin yr *ng*, am nad oes gennym lythyren unig i gyfleu ei sain. Ysgrifennai'r hen awduron *ygkaer*, neu *yngkaer*, heb gyfnewid y gydsain; ysgrifennai Dr. Morgan *yng-Hrist*, a cheisiwyd llawer dull yn yr ail ganrif ar bymtheg *yngHrist*, *ynGhrist*, *yNghrist;* ysgrifennai Dr. J. D. Rhys *ynn-gwydd*[1] a Dr. Davies *yng-nghanol*, "ac yn fyr *ynghanol*."[2] Ysgrifenna Elis Wyn *yn Ghaer*

[1] Gram. td. 114. [2] Gram. (arg. 1621) td. 202.

(td. 84), gan feddwl i'r *n* a'r *G* wneuthur un *ng;* ond teimla y dylai'r ail air ddechreu ag *ng*, ac ysgrifenna unwaith neu ddwy *yn ngraddeu* (td. 68), gan feddwl i'r ddwy *n* a'r *g* wneuthur un *ng*. Y drwg ar y dull hwn ydyw ei fod yn awgrymu fod yr *n* i'w seinio ar wahân, ac ni raid dywedyd erbyn hyn fod hynny 'n anghywir. Fe allai mai'r dull goreu wedi 'r cyfan yw ysgrifennu'r ddeuair yn un pan fo 'r arddodiad yn ddi acen, megys *ymlaen*, *ynghyd*, a dyblu 'r *ng*, fel yr *m*, pan fo rhywfaint o acen arno, megys *ym Mkentir*, *yng Nghaer*. Nid yw'r dull hwn, fel yr honnai Iolo Morgannwg,[1] yn bedair mil oed; ond fe geir *ym Mon*, *ym Meirionnydd* yn fynych yn Llyfr Coch Hergest; ac yr oedd *ym mhob*, *ym mhen* yn ddigon cyffredin mewn oesoedd diweddarach.[2] Buasai *yŋ Ŋhymru* yn hollol yr un fath a'r ffurfiau yma petai gennym lythyren sengl fel hyn am *ng*, ond gan nad oes gennym, nid oes i ni ond ysgrifennu *yng Nghymru*.

Pwnc o ramadeg yn hytrach nag orgraff ydyw pa bryd i newid cydsain flaen; er hyn, fe all nad amhriodol sylwi yma ar un cyfnewidiad a wneir yn gyson gan Elis Wyn, ac na wneir yn awr. Arferid cydsain feddal gynt ar ol amryw ffurfiau o'r ferf *wyf*, megys *bu*, *oedd;* "Ar a'th gâr ni fu *fâr* fwy," medd Hywel ab Einion; "a bliant oedd *lieineu* y bwrdd," medd y Llyfr Coch;[3] a dywed Elis Wyn, "oedd gael" (td. 5, 49), "oedd lys" (td. 16), "oedd wrando" (td. 29). Yr oedd yn rheol ddieithriad hefyd arfer cydsain feddal yn y gweithredydd ar ol y terfyniad berfol *-ai;* fe 'i ceir yn y Beibl, "pe bwriai *ddyn* had," Marc iv. 26; "pe rhoddai *wr*," Can. viii. 7. Felly 'n wastad gan Elis Wyn, "Mynnei Loegr" (td. 27), "a dalei Falchder" (td. 144); ond gwell oedd gan amryw o'i olygwyr diweddar galedu 'r gydsain a difetha 'i hen gystrawen dlos a chywir ef.

Fe grybwyllwyd uchod fod gan Elis Wyn amryw ffurfiau llafar; nis gallaf sylwi ond ar un dosbarth o honynt. Yr oedd *-eu* ac *-ei* yn y sill ddi-acen olaf yn *-e* ar lafar gan mlynedd a hanner cyn amser Elis Wyn; a

[1] Cyfrinach B. Y. P., td. 237. [2] Gram. J.D.R., td. 273: Gram. Dr. D., td. 202. [3] *Mabinogion*, td. 165.

12.

*Nid oes yma ronyn prîs,*
*Fynd tros y ssrlp yn uwch ne'n îs* ;
*Nid yw 'r* bythol betheu *mawr,*
*I'th dyb di nawr ond bribis.*

13.

*Ond pan fo'r Ange 'mron dy ddàl,*
*Wrth odre 'r* Wàl ddiadlam,
*Gwybydd y bydd i ti brîs*
*Os cemmi rîs yn lledcam.*

14.

*Pan fo d' Enaid am y clô,*
*A mynd i'r fawr* Dragwyddol Frô,
*Oes brîs wrth egor càl y Ddôr,*
*Pa dy i'r* Agendor *fyddo?*

15.

Credu *ac* Edifarhâu,
*A* Buchedd Sanctaidd y gwellâu,
*Y rhain yw 'r unig help i Ddyn,*
*Rhag ing a cholyn* Angeu.

16. *Gwael*

16.

*Gwael y gweli rhain yn awr,*
*Ond wrth fudo i'r Byd mawr,*
*Tydi a'u prisi'n fwy na hyn,*
*Ar fin dy* Derfyn *dirfawr.*

17.

*Pan fo'r Byd i gyd ar goll,*
*A'i fwynder oll ar d' olwng,*
*Anfeidrol fydd eu prîs au gwerth,*
*Wrth Gae yr anferth* Gyfwng.

---

III.

# III.

## *Gweledigaeth* UFFERN.

AR foreu têg o *Ebrill* rywiog â'r Ddaiar yn lâs feichiog a *Phrydain* baradwysedd yn gwisco lifrai gwychion, arwyddion *Heulwen Hâ*; rhodio 'r oeddwn ynglann *Hafren*, ynghanol melysbyncieu cerddorion bâch y Goedwig, oedd yn ymryson torri pob mesureu *mawl* hyfrydlais i'r Creawdwr; a minne 'n llawer rhwymediccach, weithieu mi gyd-bynciwn â'r Côr ascellog mwynion, ac weithieu darllenwn rann o Lyfr *Ymarfer Duwioldeb*. Er hynny yn y myw nid ai o'm cô fy *ngweledigaethau* o'r blaen, na redent fyth a hefyd i'm rhwystro ar draws pôb meddyliau eraill. A daliasant im blino, nes imi wrth fanwl ymrefymmu ystyried nad oes un weledigaeth ond *oddiuchod* er rhybudd i ymgroesi, ac wrth hynny fod arnai ddlêd iw scrifennu hwy i lawr er rhybudd i eraill hefyd.

hefyd. Ac ar ganol hynny o waith, â mi 'n bendrist yn ceisio casclu rhai o'r cofion ofnadwy, daeth arnai heppian uchben fy mhapur, a hynny a roes le i'm Meistr *Cwsc* lithro ar fy ngwartha. Braidd y cloisei *Gwsc* fy synhwyreu, nad dyma 'n cyfeirio atta'i ryw *ddrychiolaeth* ogoneddus, ar wedd gŵr ieuanc tàl a glandeg iawn, a'i wîsc yn saith wynnach na 'r eira, a'i wyneb yn tywyllu 'r Haul o ddiscleirdeb, ai felyngrych aurgudynnau yn ymrannu 'n ddwybleth loewdeg oddiarnodd ar lûn *Coron*. Tyrd gyda mi ddyn marwol! ebr ef, pan ddaeth hyd attaf: Pwy wyti f' Arglwydd? ebr finneu. Myfi, ebr ef, yw Angel Teyrnasoedd y Gogledd, gwarcheidwad *Prydain* a'i Brenhines. Myfi yw un o'r Tywysogion sy tan Orseddfainc yr Oen yn derbyn gorch'mynion ymhlaid yr *Efengyl*, iw chadw rhag ei holl elynion sy yn Uffern ac yn *Rhufain*, yn *Ffrainc* ac yn *Ghaer Cwstenyn*, yn *Affrica* a'r *India*, a pha le bynnac arall y maent yn dyfeisio dichellion iw difa. Myfi yw 'r Angel a'th waredodd tu isa i Gastell *Belial*, ac a ddangosais i ti oferedd a gwallco 'r holl Fyd, y *Ddinas ddihenydd*, a godidowgrwydd Dinas *Emmanuel*, a daethum etto trwy ei orchymyn Ef i ddangos i ti betheu mwy, am dy fod yn ceisio gwneud deunydd o'r hyn a welaist eusys. Pa fodd f' Arglwydd, ebr

fi,

ſi, y mae 'ch anrhydedd gogoneddus ſy 'n goruwchwilio Teyrnaſoedd a Brenhinoedd yn ymoſtwng at gymdeithas burgyn o'm bâth i? O! ebr yntef, mwy gennym ni *rinwedd Cardottyn* na *mawredd brenin*. Beth os wyf fwy na holl Frenhinoedd y Ddaiar, ac uwch na llawer o'r aneirif Bennaethiaid Nefol, etto gan deilyngu o'n hanfeidrol Feiſtr, ni oſtyngiad mor anrhaethol arno 'i Hun, a gwiſco un o'ch cyrph chwi, a byw 'n eich mŷſc, a marw i'ch achub: Pa fodd y meiddiwn i amgen na thybio 'n rhydda fy ſwydd dy waſanaethu di a'r gwaelaf o'r *Dynion* ſy cyfuwch yn ffafer fy Meiſtr? Tyrd allan yſpryd a *dibridda!* ebr ef, a'i olwg ar ei ſynu; a chyda 'r gair, mi 'm clywn yn ymryddhau oddiwrth bob rhann o'r corph, ac ynte 'n fy nghipio i ſynu i entrych nefoedd, trwy fro 'r Mêllt a'r Taraneu a holl Arſdai gwynias yr Wybr, aneirif o raddeu 'n uwch nac y baſwn gydag ef o'r blaen, lle prin y gwelwn y Ddaiar cyfled a chadlais. Wedi gadel i mi orphwys ychydig fe 'm cododd eilchwyl ſyrddiwn o filltiroedd, oni welwn yr Haul ymhell odditanom, a thrwy *Gaer gwydion* ac heibio i'r *Twr-tewdws*, a llawer o Sêr tramawr eraill i gael golwg o hirbell ar Fydoedd eraill. Ac o hîr ymdaith, dyma ni ar derſyneu 'r anferth *Dragwyddoldeb*; yngolwg dau Lŷs y gorcheſtol Frenin *Angeu*,

un o'r tu deheu a'r llall o'r tu affwy ymhell bell oddiwrth eu gilydd, gan fod rhyw ddirfawr *Wâg* rhyngddynt. Gofynnais a gawn fynd i weled y Brenhinllys deheu, oblegid ni welfwn mo *hwnnw'n* debyg i'r *llall* a welfwn i o'r blaen. Cei ondodid, ebr ynte, weled ychwaneg o'r rhagor fy rhwng y naill Lŷs a'r llall rywbryd: Eithr rhaid i ni rwan hwylio ffordd arall. Ar hyn troefom oddiwrth y *byd bâch*, a thros y Cyfwng ymollyngafom i'r *Wlâd tragwyddol*, rhwng y ddau Lŷs i'r *Gwagle* hyll; anferth Wlâd, ddofn iawn a thywyll, di-drefn a di-drigolion, weithie'n *oer* ac weithie'n *boeth*, weithie'n *ddiftaw*, ac weithieu yn *fynio* gan y rhaiadydd dyfroedd yn defcyn ar y Taneu ac yn ei diffodd; ac yn y man gwelit damchwa o dân yn torri allan, ac a lofcei'r dwr yn fŷch: Felly nid oedd yno ddim cwrs, na dim cyfa, dim byw, na dim lluniaidd; ond yr *angbyffondeb fyfrdan*, a *fyndod tywyll* a'm dallafei i fyth, o ni bafei i'm cyfaill noethi eilwaith ei nefol ddifcleirwifc. Wrth ei oleu ef gwelwn *Dîr Ango*, a minion Gwylltoedd *Deftryw* ymlaen o'r tu affwy; ac o'r tu deheu megis godreuon ifa caereu'r *Gagoniant*. Wel'dyma'r Agendor fawr fy rhwng *Abraham* a *Difes*, ebr

ebr ef, a elwir y *Gymyſcfa* ddidrefn, hon yw gwlâd y *defnyddieu*, a greodd y Creawdr gynta, dyma lle mae *hadau* pob peth byw, ac o'r rhain y gwnaeth y *Gair* Hollalluog eich Byd chwi ac oll ſy ynddo, Dw'r Tân, Awyr, Tîr, anifeiliaid, pŷſc a phryfed, adar aſcellog, a chyrph dynion, ond mae eich *eneidieu* o ddechreuad ac acheu uwch ac ardderchoccach. Trwy'r *Gymmyſcfa* fawr arſwydus, ni a dorraſom o'r diwedd allan i'r llaw chwîth; a chyn trafaelio neppell yno, lle'r oedd pob peth yn dechreu mynd hyllach hyllach, clywn y galon ynghorn yngwddf, a'm gwâllt yn ſefyll fel gwrŷch draenog cyn gweled; ond pan welais och ormod golwg i dafod ddatcan, nac i yſpryd dyn marwol ei edrych! mi a lewygais. Oh! aruthrol anferthol *Gyſwng* tra erchyll yn ymagor i Fyd arall! Och ar cleccian ſyth yr oedd y fflameu echryſlawn wrth ymluchio tros ymyleu'r Geulan felltigedig, a'r dreigieu mêllt yſcethrin yn rhwygo 'r mŵg dudew'r oedd y *Safn* anferth yn ei fwrw i ſynu. Pan ddadebrodd f'anwyl gydymmaith fi, rhoes i mi ryw ddw'r *yſprydol* iw yfed; o odidocced oedd ei flâs ai liw! pan yfais y dwr nefol clywn *nerth* rhyfeddol yn dyfod imi, a *ſynwyr*, a *chalon*, a *ffydd* ac amryw

 rinweddeu

rinweddeu nefol eraill. Ac erbyn hyn neſſeais gydage 'n ddiarſwyd at ſin y Dibyn, yn y Llenn, â 'r fflammeu 'n ymrannu o'n deutu ac yn ein gochel, heb feiddio cyffwrdd â Thrigolion *Gwlâd Ucbelder*. Yna o ben y Geulan anaelef ymollyngaſom fel y gweliti ddwy Seren yn ſyrthio o entrych nêf, i lawr â ni fil filiwn o filltiroedd, tros lawer o greigieu brwmſtan, a llawr anfad raiadr gwrthun, a chlogwyn eirias a phôb peth â gŵg crogedig ar i wared ſyth, etto'r oeddynt oll yn ein gochel ni; oddieithr unwaith yr eſtynnais fy nhrwyn allan o'r *llen-gêl*, tarawodd y ſâth archfa fi o ſygfeydd a thagfeydd ac a'm gorphenaſei oni baſei iddo'n ddiſymwth f'achub a'r dw'r bywiol. Erbyn imi ddadebru gwelwn ein bod wedi dyfod i ryw ſefyllfod; canys yn yr holl Gêg anferthol honno nid oedd boſſibl ddim cynt gae attreg, gan ſerthed a llithricced ydoedd. Yno gaddawodd fy nhwyſog i mi orphwys peth drachefn; ac yn hynny o ſeibiant digwyddodd i'r Taraneu a'rCorwyntoedd crôch ddiſtewi gronyn, ac heb waetha i ſŵn y rhaiadydd geirwon, mi a glywn o hirbell ſŵn arall mwy na'r cwbl, o grochleiſieu echrys, bonlleſain, gwaeddi, ac ochain crŷf, a thyngu a rhegu a chablu, oni

oni roesſwn i newid ar fy nghluſtieu rhag gwrando. A chyn i ni ymſymmud fodfedd clywem oddifynu'r ſâth drwp-hwlrwp-rap dy-dwmp dy-damp, ac oni baſei i ni oſcoi'n ſydyn ſyrthiaſei arnom ganto edd o ddynion anhappus oedd yn dyfod ar eu penneu mewn gormod brŷs i ddrwgfargen, a llu o Ellyllon yn ei gyrru. O Sir, ebr un Diawl, cymrwch yn araf rhag dyryſu'ch cudyn crŷch. Madam, a fynnwchwi gluſtog eſmwyth? mae arnai ofn na fydd arnoch ddim trefn erbyn yr cloch i'ch lletty, meddei ef wrth y llall. Gwrthyſig aruthr oedd y dieieithriaid i fynd ymlaen, gan daeru eu bod allan o'r ffordd, ac er hynny mynd yr oeddid a ninneu o'u lledol, hyd at Weilgi ddu ddirfawr o faint, a thrwodd yr aethant hwy, a throſodd ninneu, â'm cydymaith yn dàl y *dw'r* wrth fy nhrwyn i'm nerthi rhag archfa'r affon, ac erbyn y gwelwn rai o'r *trigolion*, canys hyd yn hyn nis gwelſwn gymmaint ac un *Diawl*, ond clywed eu llais. Beth, ertolwg fy nhwyſog, y gelwir yr Afon farwedd hon, ebr fi? *Afon y Fall*, ebr ynte, lle trochir ei holl ddeiliaid ef iw cymwyſo at y Wlâd: Mae'r dw'r melltigedig hwn, ebr ef, yn newid eu *gwedd*, yn golchi ymaith bob *gweddillion* daioni, pôb *rhîth*

gobaith a chyſur. Ac erbyn gweled y llu yn dyfod trwodd, nis gwyddwn i ddim rhagor gwrthuni rhwng y *Diawliaid* a'r *Damniaid*. Chwenychei rai o honynt lechu yngwaelod yr Afon, a bod yno fyth fythoedd yn tagu, rhag cael ymlaen waeth lletty: Ond fel y mae 'r ddihareb, *Rhaid i hwnnw redeg y bo Diawl yn ei yrru*, felly gan y Diawliaid oedd o'u hôl 'r oedd yn gorfod i'r damniaid hyn fynd ymlaen hyd y Feiſdon ddiniſtriol iw dihenydd tragywyddol; lle gwelais inneu ar y golwg cynta fwy nac a all calon Dyn ei ddychymyg, chwaethach tafod ei draethu o arteithieu a dirboeneu; a digon oedd weled un o honynt er gwneud i'r gwâllt ſefyll, i'r gwaed fferri, i'r cnawd doddi, i'r eſcyrn ymollwng, iè, i'r yſpryd lewygu. Beth yw polioni, neu liſio Dynion yn fyw? tynnu 'r cnawd yn dammeidieu, â gwrthrimmynnod heirn, neu friwlio cîg â chanwylleu o feſur golwyth, neu waſcu penglogeu 'n lledfennau mewn gwâſc, a'r holl ddirmyg erchylla fu 'rioed ar y ddaiar? nid ydynt oll ond megis dyfyrrwch wrth un o'r rhain. *Yma* fîl can mîl o floeddiadau ac ebychiau hyllgryg ac ochneidieu cryſion; *draw* wylofain crôch, ac aruthrol gri 'n eu hatteb, ac mae udſa cŵn yn bêr ſuwſic flaſus wrth y lleiſieu yma. Pan aethom ronyn ymlaen o'r Feiſdon felltigedig i wŷllt *Deſtryw*, wrth

wrth eu tân eu hunain canfûm aneirif o Feibion a Merched yma a thraw; a Diawliaid heb rifedi ac heb orphwys â'u holl egni 'n dàl byth iw harteithio; ac fel y gwaeddei 'r Diawliaid gan eu poen eu hunain, gwnaent i'r Damniaid eu hatteb hyd adre. Deliais fanylach Sulw ar y cwrr oedd nesa atta 'i: Gwelwn y Diawliaid â phigffyrch yn eu taflu i ddescyn ar eu penneu ar hislanod gwenwynig o biccellau geirwon gwrth fachog, i wingo gerfydd eu menyddieu, ymhen ennyd lluchient hwy ar eu gilydd yn hunfeydd, i ben un o'r Creigieu llôsc i rostio fel poethfel. Oddiyno cippid hwy 'mhell i ben un o fylcheu y rhew a'r Eira tragwyddol: yna 'n ôl i anferth lifeiriant o frwmstan berwedig, iw trochi mewn *lloscfeydd*, a *mygfeydd*, a *thagfeydd* o ddrewi anaelef; oddiyno i Siglen y pryfed ei gofleidio *ymlusciaid uffernol*, llawer gwaeth na Seirph a Gwiberod; yna cymmerei 'r Cythreuliaid wiail clymmog o ddur tanllyd o'r ffwrnes, ac ai cureint oni udent tros yr hôll *Fagddu fawr*, gan yr anrhaethawl boen echryslawn; yna cymereint heirn poethion i serio 'r archollion gwaedlyd. Dim *llewygu* na *llesmeirio* nid oes yno, i sommi munyd o *seibiant*, ond nerth gwastadol i *ddiodde* ac i *deimlo*; er y tebygiti ar ôl un echryslef, nad oedd bossibl fod fŷth rym i roi un waedd arall mor hyllgref,

hyllgref, etto byth ni oſtwng eu cyweir, a'r Diawliaid yn eu hatteb, dyma 'ch croeſo *byth bythoedd.* A phettei poſſibl, gwaeth na'r boen oedd goegni a chwerwder y diawliaid yn eu *gwawdio*, ac yn eu *gwatwar:* A pheth oedd waethaf oll, oedd eu *Cydwybod* y rwan wedi cwbl ddeffro, ac yn eu llarpio hwy 'n waeth na mîl o'r Llewod uffernol. Ond wrth fynd rhagom ar i wared bellbell, a *phan bella gwaetha 'r gwerth*, yr olwg cynta, gwelwn Garchar ofnadwy, a Dynion lawer iawn tan ſcwrs y Diawliaid yn griddfan yn felltigedig. Pwy yw rhain oll, ebr fi? Dyma, eb yr Angel, letty 'r *Gwae fi na baſwn!* Gwae fi na baſwn yn ymlanhau oddiwrth bob rhyw bechod mewn pryd! medd un; Gwae fi na baſwn yn credu ac yn edifarhau cyn dyfod yma, medd y llall. Neſa i gell yr *edifeirwch rhywyr* a'r *dadl wedi barn*, oedd Garchar yr *Oedwyr*, a fyddei bôb amſer yn *addo* gwellâu, heb fyth gwplâu. Pan ddarffo hyn o drafferth, medd un, mi a drô ddalen arall: Pan êl hyn o rwyſtr heibio, mi â 'n Ddyn newydd etto, medd y llall. Ond pan ddarffo hynny, nid ydys nês, ceir rhyw rwyſtr arall fyth, a hefyd rhag cychwyn tu a Phorth Sancteiddrwydd, ac os cychwynid weithieu, ychydig a'u troe 'n ôl. Neſa i'r rhain, oedd Carchar *y Cam-hyder*, llawn o rai pan berid iddynt gynt ymadel

a'u

a'u *hanlladrwydd*, neu *feddwdod*, neu *gybydd-dod*, a ddywedeint, *Mae Duw 'n drugarog*, ac yn well nai air, ac ni ddamnia 'i greadur fyth am fatter cyn lleied. Ond yma cy-farth cabledd yr oeddynt, a gofyn p'le mae 'r Drugaredd honno a fostid ei bod yn an-feidrol. Tewch gorgwn, ebr cimmwch o Gythraul mawr oedd yn eu clywed, tewch, ai trugaredd a fynnechwi, heb wneud dim at ei chael? A fynnech i'r *Gwirionedd* wneud ei Air yn Gelwydd, dim ond er cael cwmnhi fothach mor ffiaidd a chwi? Ai gormod o drugaredd a wnaed â chwi? Rhoi i chwi Achubwr, Diddanwr, a'r An-gylion, a Llyfreu, a Phregetheu, a Siam-pleu dâ, ac oni thewch chwi a'n crugo ni bellach wrth ymleferydd am Drugaredd lle ni bu *hi* 'rioed! Wrth fynd allan o'r ceubwll tra thambaid hwn, clywn un yn erthwch ac yn bloeddio 'n greulon, Nis *gwyddwn* i ddim gwell; ni *chostiwyd* dim wrthifi 'rioed i ddyfcu darllen fy nyled-fwydd; ac nid oeddwn i 'n cael mor *ennyd* chwaith gan ennill bara i mi ac i'm ty-lwyth tlawd i *ddarllen* nac i *weddio*. Aiè, eb rhyw ddieflyn gwergam oedd gerllaw, a gaed dim ennyd i ddywedyd chwedlau 'fmala? Dim fegur ymroftio hirnos Gaia, pan oeddwn i ynghorn y Simnai, na allefid rhoi peth o'r amfer hwnnw at ddyfcu dar-llen neu weddio? Beth am y *Sulieu*? Pwy fu

fu 'n dyfod gyda mi i'r Dafarn, yn lle mynd gyda 'r Person i'r Eglwys? Pa sawl prydnhawn Sulgwaith a roed i oferddadwrdd am betheu 'r Byd, neu gyscu, yn lle dyscu myfyrio a gweddio? ac a wnaethochwi yn ôl a wyddech? Tewch, Syre, a'ch dwndwr celwyddog. O waed Ci cynddeiriog, ebr y coll-ddyn, nid oes fawr er pan oeddit yn sisial peth arall yn fy mhen i! pe dywedasit hyn y dydd arall, odid a ddaethwn i yma. O, ebr y Diawl, nid oes gennym fatter er dywedyd i chwi 'r caswir *yma*, oblegid nid rhaid uno'n yr cwch i 'n ôl bellach i ddywedyd chwedleu. Tu isa i'r gell yma, gwelwn ryw gwm mawr, ac ynddo megis myrdd o Domennydd anferth yn gwrddlosci, ac erbyn nesau, gwybûm wrth eu hudfa, mai *Dynion* oeddynt oll, yn frynieu ar eu gilydd, a'r fflammeu cethin yn cleccian trwyddynt. Y Pantle yna, eb yr Angel, yw lletty 'r Gwŷr a ddywedeint wedi gwneud rhyw fowrddrwg, haro! *nid si yw'r cynta*, *mae i mi ddigon o gymmeiriaid*, ac felly gweli eu bod yn cael digon o gymmeiriad, i wirio 'u geirieu, ac i 'chwannegu eu gosid. Gyfeiryd a hyn 'r oedd Seler fawr lle gwelwn *nyddu* Dynion fel nyddu gwdyn, neu siccio cynfaseu. Attolwg, ebr fi, pwy ydyw y rhain? Dyma 'r *Gwawdwyr*, ebr ef, ac o Wîr wawd arnynt, mae 'r Diawliaid

yn

yn profi a ellid eu nyddu *hwy* cyn ystwythed a'u *chwedlau*. Is law hyn ronyn, prin y gwelsom ryw garcharbwll arall tra-thywyll, ac yno 'r oedd petheu a fasei 'n Ddynion, â wynebeu fel penneu bleiddgwn, hyd at eu cegeu mewn Siglen; ac yn cyfarth cabledd a chelwydd yn gynddeiriog tra caent y colyn allan o'r baw. Yn hyn dyma gadfa o Gythreuliaid yn dyfod heibio, a chyrhaeddodd rhai frathu deg neu ddeuddeg o'r Diawliaid a'u dygasai hwynt yno yn eu sodleu. Gwae, Destryw, ufferngwn! ebr un o'r Diawliaid a frathesid, ac a d'rawodd ar y Siglen onid oeddynt yn soddi yn eigion y drewi: Pwy a haeddei Uffern well na chwi, y fyddei 'n hèl ac yn dyfeisio chwedleu ac yn sibrwd celwydd o dy i dy i gael chwerthin wedi y gyrrech yr holl fro benben a'u gilydd? Beth ychwaneg a wnae un o honom ninneu! Dyma, eb yr Angel, letty 'r *Athrodwyr*, yr *Enllibwyr* a'r *Hustingwyr*, a phôb llyfrgwn cenfigennus a anafant fyth *o'r tu cefn* â dyrnod neu a thafod. Oddiyno ni aethom heibio i walfa fawr, ffieiddia 'r a welswn i etto, a llawna o bryfed, a hiddigl a drewi. Dyma, ebr ef, le 'r gwŷr a ddisgwilient Nêf am fôd yn *ddi-falis* sef, yn ddiddrwg ddidda. Nesa i'r drewbwll yma, gwelwn dyrfa fawr yn eu heiste 'n ochain yn greulonach na dim a glywswn i hyd yn hyn o Uffern.

Uffern. Ymgroes dda i bawb, ebr fi, be' fy 'n peri i'r rhain achwyn mwy na nêb, heb na phoen na chythreul ar eu cyfyl? O! eb yr Angel, mae ychwaneg o boen *oddimewn* os oes llai o'r *tu allan*: *Hereticiaid* gwrthnyfig, a rhai *annuw*, a llawer o rai *anghrist*, ac o'r *bydol-ddoethion*, Gwadwyr y *ffydd*, *erlidwyr* yr Eglwys, a myrdd o'r cyfryw fy yma, wedi eu gadel yn hollawl i chwerwddycnach gôfp y *Gydwybod*, fy 'n cael ei chyflawn rŵyfc arnynt yn ddibaid ddirwyftr. Ni chymrai bellach, medd *hi*, mo'm boddi mewn cwrw, na'm dallu â gwobrau, na'm byddaru â cherdd ac â chwmnhi, na'm fuo, na'm fynnu â fyrthni anyftyriol; eithr mynnaf fy nghlywed bellach, ac bŷth ni thyrr clep y *cafwir* yn eich cluftieu. Mae 'r *Wllys* yn codi blŷs y Gwynfyd a gollwyd, a'r *Cô* 'n edliw hawfed fafei ei gael, a'r *Dealltwriaeth* yn dangos faint y golled, a ficcred yw na cheir bellach ddim ond yr anrhaethawl gnofa byth bythoedd: Ac felly â'r tri hyn y mae 'r *Gydwybod* yn eu rhwygo 'n waeth nac y gallei holl Ddiawliaid Uffern. A mi 'n dyfod allan o'r gilfach ryfeddol honno, mi glywn gryn fiarad, ac am bôb gair y fâth hyll grechwen a phedfafei yno bumcant o'r Cythreuliaid ar fwrw eu cyrn gan chwerthin: Ond erbyn i mi gael nefau i weled yr amheuthun mawr o *wenu* yn Uffern, beth y doedd

doedd ond dau o bendefigion newydd ddyfod yn dadleu am gael parch dyledus iw *bonedd*, ac nid oedd y llawenydd ond digio 'r gwŷr boneddigion. Palff o '*Scweir* a chanddo drolyn mawr o femrwn fef ei gart acheu,ac yno 'n datcan o ba fawl un o'r pymthegllwyth Gwynedd y tarddafei ef: Pa fawl *Uftus o heddwch*, a pha fawl *Siri* a fafei o'i dŷ ef. Hai, hai, ebr un o'r Diawliaid, ni wyddom haeddiant y rhan fwya o'ch hynafiaid chwi: pedfafechwi tebyg i'ch Tâd neu i'ch Gorhendaid, ni feiddiafem ni mo'ch cyffwrdd. Ond nid ŷchwi ond aer y Fagddu, fflamgi brwnt, prin y teli roi i ti letty nofwaith, ebr ef, ac etto ti a gei ryw gilfach i aros dydd; a chyda 'r gair, dyma 'r Ellyll yfcethrin â'i bigfforch yn rhoi iddo wedi deg tro ar hugain yn yr Wybr danbaid, onid oedd e'n defcyn i geudwll allan o'r golwg. Mae hynny 'n abl, ebr y llall, i *Scweir* o hanner gwaed; ond gobeithio y byddwch well eich moes wrth *Farchog*, a fu 'n gwafanethu 'r Brenin fy hun, a deuddeg o Ieirll, a deg a deugain o Farchogion a fedra 'i henwi om hên Stent fy hun. Os eich hynafiaid a'ch hên Stent yw 'r cwbl fy gennych iw ddadleu gellwch witheu gychwyn yr un ffordd, ebr un o'r Diawliaid. Oblegid nid ym ni 'n cofio odid o hên Stât fawr, nad rhyw Orthrymmwr, neu Fwrdriwr, neu Garnlleidr a'i de-

chreuodd; a'i gadel i rai cyn drawſed a hwytheu, neu i bembyliaid ſegurllyd, neu fôch meddwon. Ac i faentumio 'r mawredd afradlon, rhaid gwaſcu 'r *Deiliaid* a'r *Tenantiaid*; os bydd *yno* nac Ebol tlŵs, na Buwch foddgar, rhaid i Meiſtres eu cael rhag *blys*: A da os dianc y Merched, iè, a'r Gwragedd rhag blŷs y Meiſtr. A'r mân *uchelwyr* o'u hamgylch, rhaid i'r rheiny naill ai eu hofer-ganlyn, ai mechnio troſtynt iw hanrheithio 'u hunain a'u heiddo, ai gwerthu eu treftadaeth, neu ddiſgwyl câs a chilwg, a'u llurgynio i bôb oferſwydd yn eu byw. O! fon'ddigeiddied y tyngant i gael eu coelio gan eu *Cariadeu*, neu gan eu *Siopwyr!* a chwedi ymwychu, oh goegced yr edrychant ar lawer o gryn Swyddogion gwledig ac Eglwyſig, chwaethach ar y bobl gyffredin! fel pettei rheiny ryw bryfed wrthynt hwy. Gwae finneu! ai nid unlliw pôb gwaed? Ai nid yr un ffordd rhwng y trwnc a'r baw y daethochwi i gyd allan? Er hyn oll trwy'ch cennad, ebr y Marchog, mae ymbell enedigaeth yn llawer purach na'r llall. I'r Deſtryw mawr oes bliſcyn o honoch oll well na'u gilydd, ebr y dieflyn: 'rŷch i gyd oll wedi 'ch diwyno â *phechod gwreiddiol* oddiwrth *Adda*. Ond Syr, ebr ef, os yw'ch gwaed chwi 'n *well* na gwaed arall, bydd ynddo lai o ſcum wrth ferwi, trwochwi 'n y man, ac os oes

*rhagor*,

*rhagor*, mynnwn chwilio pôb rhann o honoch trwy ddw'r a thân. Ar y gair, dyma Ddiawl ar lun cerbyd tanllyd yn ei dderbyn, a'r llall o wawd yn ei godi ef iddo, ac ymaith ac ynte fel mellten. Ymhen ennyd, parodd yr Angel i mi edrych, a gwelwn y Marchog druan yn cael ei drwytho 'n erchyll mewn anferthol ffwrnes ferwedig, gyda *Chain*, *Nimrod*, *Esau*, *Tarquin*, *Nero*, *Caligula*, a'r lleill a ddechreuodd ddwyn *acheu*, a chodi *arfeu bonedd*. Encyd ymlaen parodd fy nhwysog i mi spio trwy dollgraig, ac yno gwelwn dyrfa o *Fursennod* yn ymsionci, yn gwneud ac yn dad-wneud eu holl ffoledd ar y ddaiar gynt; rhai 'n min-grynny, rhai â heirn yn tynnu eu haelieu, rhai 'n ymiro, rhai 'n clyttio 'u hwynebeu ac ysmottieu duon i wneud i'r melyn edrych yn wynnach; rhai 'n ceisio torri 'r drŷch, a chwedi 'r holl boen, yn ymliwio ac yn ymfritho wrth weled eu hwynebe 'n wrthunach na'r cythreuliaid, a rwygent â'u 'winedd a'u dannedd yr holl wrîd gosod, a'r ysmottieu, a'r crwyn, a'r cîg tan un; ac a oerleisient allan o fâth. Y felltith fawr, meddei un, i Nhâd a wnaeth i mi briodi hên gelffaint yn eneth, gwaith hwnnw 'n codi blŷs heb allu mo'i dorri a'm gyrrodd i yma. Mîl o felltithion ar fy Rhieni, meddei 'r llall, am fy ngyrru i'r *Fonachlog* i ddyscu diweirdeb; ni fasei

waeth iddynt fy ngyrru at *Rowndiad* i ddyſcu bod yn *hael*, neu at *Gwacer* i ddyſcu bod yn *foeſol*, na'm gyrru at *Bapiſt* i ddyſcu *oneſtrwydd*. Y Deſtryw gwyllt, ebr un arall, a ddycco fy Mamm am ei balchder cybyddus yn rhwyſtro i mi gael gŵr wrth fy rhaid, ac felly gwneud i mi ledratta 'r peth a allaſwn ei gael yn oneſt. Uffern, a dwbl Uffern i'r Tarw cynddeiriog o Wr bonheddig a ddechreuodd gynta fy hudo i, meddei 'r drydedd, oni baſei i hwnnw rhwng têg a hagr dorri 'r cae, nid aethwn i 'n gell egored i bawb, ac ni ddaethwn i'r gell gythreulig yma ! ac yna ymrwygo eilwaith. Ond eraill wedi ymbobi aent o dwll i dwll tan gynheigca, a thynnent y Diawliaid rhwng eu traed, weithieu ffoe rheiny rhagddynt, ac weithieu rhoent iddynt dân at dân, cynnient hwy ag ebillion o ddur gwynias oni chaent ddigon o ymrygnu a'u perfedd yn sîo ac yn ffrîo. Yr oedd yn rhyhwyr genni ymadel a ffiaidd ganel y geiſt cynhaig. Ond cyn mynd nemor ymlaen, bu ryfedd genni weled carcharlwyth arall o Ferched dau ffieiddiach na hwytheu. Rhai wedi mynd yn llyffaint, rhai 'n Ddreigieu, rhai 'n Seirph yn nofio ac yn chwibianu, yn glafoerio ac yn ymdolcio mewn merbwll drewllyd, mwy o llawer na *Llynn-Tegid*. Attolwg, ebr fi, beth boſſibl i'r rhain fod ? Mae yma, ebr ynte, bedair rhywogaeth *beni-*

*gamp*

*gamp* o Ferched, heb law eu cynffonion: 1. *Carn-butteiniaid*, a fu'n cadw mân fudrogod tanynt, i gael gwerthu 'r un morwyndod ganwaith; a rhai o'r Putteiniaid pennaf yma o'u hamgylch. 2. *Meistresod y chwedleu*, ac o'u cwmpas fyrdd o wrachod y newyddion. 3. *Marchogesau*, a phacc o lyfrgwn llechwrus o'u deutu, canys nid âi ddyn erioed ar eu cyfyl ond rhag eu hofn. 4. *Yscowliaid*, wedi mynd yn gan erchyllach na Nadroedd yn cnoi fyth dy-rinc, dy-rinc au colyn gwenwynig. Tygaswn fod *Lucifer* yn weddeiddiach Brenin, na rhoi Gwraig fonheddig o'm gradd i gyda 'r mân ddiawlesod hyn, ebr un, fyrn debyg, ond ei bod hi 'n llawer gerwinach na *Sarph hedegog*. Oh! na yrrei fo yma seithgant o'r Diawliaid dihira 'n Uffern yn gyfnewid am danati uffernbry g'wenwynig, meddei ryw Wiber wrthun arall! O, diolch i chwi 'n fawr, ebr un Cawr o Gythreul oedd yn clywed, 'rŷm ni 'n cyfri 'n lle a'n haeddiant yn beth gwell: Er y poenech chwi bawb cynddrwg a ninneu er hynny ni chollwn i etto mo'n Swydd i chwi. Ac hefyd, eb yr Angel yn ddistaw, mae achos arall i *Lucifer* roi cadwraeth ddichlin ar y rhain, rhag iddynt os torrant allan yrru holl Uffern bendramwnwgl. Oddiyma, ni aethom ar i wared fyth, lle gwelais Ogo anferthol, ac ynddi 'r fâth ddrygnad echrys na chlyw-

ſwn i etto mo'i gyffelyb, gan dyngu, a rhegu, a chablu, ac ymddanheddu, ac ochain, a gwaeddi. Pwy ſy yma, ebr fi? Dyma, ebr ef, Ogo 'r *Lladron*; yma mae myrdd o *Fforeſtwyr*, *Cyfreithwyr*, *Stiwardiaid*, a'r hên *Suddas* yn eu myſc; a blin iawn oedd arnynt weled y ffardial *Daelwriaid* a'r *Gwehyddion* uwch eu llaw ar ſcafell eſmwythach. Prin y cawſwn ymdroi, nad dyma Geffyl o Ddiawl yn dwyn *Phyſygwr* a *Photecari*, ac yn eu taflu ym ŷſc y *Pedleriaid* a'r *Hwndlwyr* ceffyleu am werthu wâr ddrŵg *ſethedig*: Ond dechreuaſant rwgnach eu goſod mewn cwmpeini mor wael. Arhowch, arhowch, ebr un o'r Diawliaid, chwi haeddech le amgenach, ac a'u taflodd hwy i wared i blith y *Cwncwerwyr* a'r *Mwrdrwyr*. Yr oedd yma fyrdd i mewn am chwareu *Diſieu ffeilſion*, a *chuddio Cardieu*: ond cyn i mi gael dàl fawr ſulw, clywn yn ymyl y drws anferth drwp a thrŵſt, a gyrru *hai*, *hai*, *hai-ptrw-ḥow*, *ho*, *ho-o-o-o-hwp*. Trois i edrych beth oedd; methu canfod dim ond yr Ellyllon corniog. Gofynnais i'm Twyſog ai *Cwcwaldiaid* oedd gyda 'r Diawliaid? Nage, ebr ef, mae y rheiny mewn cell arall, *Porthmyn* yw y rhain, a fynnei ddianc i le Torrwyr y Sabbath, ac a yrrir yma o'u hanfodd; gyda 'r gair, edrychais a gwelwn eu penglogeu 'n llawn o *gyrn Defed* a *Gwartheg*, a dyma 'r Gyrrwyr yn eu taflu

hwy

hwy i lawr tan draed yr Yspeilwyr gwaedlyd; llechwch yna, ebr un, er maint yr ofnech i ladron ar *ffordd Llundain* gynt, etto nid oeddechwi ond y fâth waetha o *ladron ffordd-fawr* eich *hunain*, yn byw ar y *ffordd* ac ar *ledra*, iè, ac ar *lâdd* Teuluoedd tlodion, wrth ddàl llawer o gegeu newynllyd yn egored i ddisgwyl eu heiddo 'u hunain iw porthi, a chwithe 'n y *Werddon* neu yn y *King's-Bench* yn chwerthin am eu penneu, neu ar y ffordd yn eich Gwîn a'ch Putteiniaid. Wrth ymadel a'r Ogo greisionboeth, cês olwg ar y Walfa benna, ond un a welais i yn Uffern am echryslawn ffieidd-dra drewedig, lle 'r oedd cenfaint o fôch *meddwon* melltigedig yn chwydu ac yn llyncu, yn llyncu ac yn chwydy llysnafedd erchyll fyth heb orphwys. Y twyll nesa oedd letty 'r *Glothineb*, lle 'r oedd *Difes* ai gymmeiriaid ar eu torreu 'n bwytta baw a thân bob yn ail fyth heb ddim gwlybwr. Ddant neu ddau 'n îs, yr oedd Cegin rôst helaeth iawn, a rhai 'n rhôst ac yn ferw, eraill yn ffrio ac yn fflammio mewn Simnai fyrn dambaid: Dyma le 'r *Anrhugarog* a'r *Anheimladwy*, eb yr Angel; a throes dippyn ar y llaw asswy, lle 'r oedd cell oleuach nac a welswn i etto yn Uffern: Gofynnais p'le ydoedd? Trigfu 'r *Dreigieu uffernol*, eb yr Angel, sy 'n chwyrnu ac yn ymchwerwi, yn rhuthro ac yn anrheithio 'u gilydd

bob

bob munyd. Mi nesseais, ac och a'r olwg anrhaethadwy oedd arnynt, y tân byw yn eu llygaid oedd y goleuni oll: Hil *Adda* yw rhain, ebr fy nhwysog, yn *Ysgowliaid*, a *Gwyr digllon* cynddeiriog: Ond d'accw, ebr ef, rai o hen sil y Ddraig fawr *Lucifer*: ac yn wîr, ni wyddwn i ddim rhagor hawddgarwch rhwng y naill a'r llall. Y Seler nesa 'r oedd y *Cybyddion* mewn dirboen echrys, gerfydd eu calonne 'nglŷn wrth gistieu o arian tanllyd, a rhŵd y rheiny 'n eu hysu fyth heb ddiwedd, megis na feddyliasent hwytheu am ddiwedd fyth yn eu casclu: ac yrwan ymddryllio 'r oeddid yn waeth na chynddeiriog, gan ofid ac edifeirwch. Is law hyn, yr oedd bachell swrth lle 'r oedd rhai o'r *Potecariaid* wedu eu malu a'u gwthio i bottieu priddion mewn *album Græcum*, a baw Gwyddeu a Môch, a llawer ennaint hendrwm. Ymlaen ar i wared fyth yr oeddem ni 'n teithio hyd y Gwŷllt dinistriol, trwy aneirif o arteithiau anrhaethol a thragwyddol, o Gell i Gell, o Seler i Seler, a'r ola fyth yn rhagori ar y lleill o erchylldod anferth: o'r diwedd i olwg *Cyntedd* dirfawr anhirionach fyth na dim o'r blaen. Cyntedd trahelaeth ydoedd a hyllserth, a gŵg ei redfa at ryw *gongl* ddugoch anghredadwy o wrthuni ac erchyllcod, yno 'r oedd y *Brenhinllys*. Ymhen ucha 'r brenhingwrt

hinghwrt melltigedig, ymyſc miloedd o erchyllion eraill wrth lewyrch fy nghydymaith, gwelwn yn y ſagddu *ddau droed* anferthol o anferthol o ſaint! yn cyrraedd i doi 'r holl Ffurfafen uffernol. Gofynnais i'm Twyſog beth allei 'r anferth hwnnw fod. Wel', ebr yntef, ti a gei helaethach golygiad ar yr *Anghenfil* yna wrth ddychwelyd: Ond tyred ymlaen yrwan i weled y Brenhinllys. A ni 'n mynd i wared hyd y cyntedd ofnadwy, clywem drŵſt o'n hôl, megis llawer iawn o bobl; wedi i ni oſcoi iw gollwng hwy ymlaen, gwelwn bedwar llu neilltuol, ac erbyn ymorol pedair Twyſoges y *Ddinas ddyhenydd* oedd yn dwyn eu deiliaid yn anrheg iw Tâd. Mi adnabûm lû y Dwyſoges *Balchder*, nid yn unic am eu bôd yn mynnu 'r *blaen* ar y lleill, ond hefyd wrth eu gwaith yn pendwmpian bob yn awr eiſieu edrych tan eu traed: Yr oedd gan *hon* fyrdd o Frenhinoedd, Pennaethiaid, Gwŷr llŷs, Bonheddigion a Ffroſtwyr, a llawer o *Gwaceriaid*, a Merched aneirif o bôb gradd. Y neſa oedd y Dwyſoges *Elw*, a'i llu henffel iſelgraff, a llawer iawn o hîl *Sîon lygad arian*, *Llogwyr*, *Cyfreithwyr*, *Cribddeilwyr Goruwchwilwyr*, *Fforeſtwyr*, *Putteiniaid* a rhai *Eglwyſwyr*. Neſa i hynny oedd y Dwyſoges ſwyn, *Pleſer* a'i Merch *Ffolineb*, yn arwain ei deiliaid, yn *chwareyddion*

*reyddion* Disieu, Cardieu, towlbwrdd Castieu hûg, yn *brydyddion*, *cerddorion*, *henchwedleiwyr*, *meddwon*, Merched *mwynion*, *maswe ddwyr*, *teganwyr*, a mil fyrddiwn o bôb rhyw deganeu, i fod weithian yn *beirianneu penyd* i'r ynfydion colledig. Wedi i'r tair hyn fyned a'u carcharorion i'r Llŷs i dderbyn eu barn, dyma *Ragrith* yn olaf oll, yn arwain cadfa luosoccach na'r un o'r lleill, o bob cenedl ac oed, o Dre a Gwlâd, Bonheddig a Gwrêng, Meibion a Merched, ynghynffon y llu dau-wynebog, ninneu aethom i olwg y Llŷs trwy lawer o Ddreigieu, ac Ellyllon corniog, ac o Gawri Annwn, Porthorion duon y *Fall-gyrch eirias*, a minne 'n llechu 'n ofalus iawn yn fy llen-gêl, ni aethom i mewn i'r Adail erchyll, aruthrol a thra aruthrol o erwindeb oedd bob cwrr, y murieu oedd anfad Greigieu o Ddiemwnt eirias, y llawr yn un gallestr gyllellog anoddef, y pen o Ddur tanllyd yn ymgyfwrdd fel bwa maen o fflammau gwyrddlas a dugoch, yn debyg ond ei faint ai boethder i ryw anferth Bobty cwmpasog erchyll. Gyferbyn a'r drŵs, ar Orseddfainc fflamllyd, yr oedd y *Fall fawr* a'i brif angylion colledig o'u ddeutu, ar feinçieu o dân tra echryslawn yn eiste 'n ôl eu graddeu gynt yn Gwlâd y goleuni, yn genawon *hawddgar*, ni wnaeth i ti hynny nac ofer-bregeth i geisio

ſio datcan mor yſceler yſcethrin oeddynt; a pha hwya yr edrychwn ar un o honynt, ſaith erchyllach fyth. Yn y canol, uwchben *Lucifer*, yr oedd *Dwrn* mawr yn dàl bôllt tra ofnadwy. Y Tywyſogeſau wedi gwneud eu moes a ddychwelaſant i'r Byd at eu Siars yn ddiymaros. A phan gynta 'r ymadawſant dyma Gawr o Ddiawl ceghir ar amniaid y Brenhin yn rhoi bonllef uwch na chan ergyd o Ganon, cufuwch pe poſſibl, a'r Udcorn ddiweddaf, i gyhoeddi 'r Parliament uffernol; ac yn ebrwydd, dyma giwed Annwn wedi llenwi 'r Llys ar cyntedd ymhob *llun*, yn ol delw a chyffelybiaeth y *pechod penna* 'r y garei pob un i wthio ar ddynion. Wedi gorchymmyn *goſteg*, dechreuodd *Lucifer*, a'i olwg ar y Pennaethiaid neſa atto, lefaru 'n raſuſol fel hyn: chychwi Bennaethiaid Annwn, Twſogion *Fagddu Anobaith!* Os collaſom y meddiant lle buom gynt yn diſcleirio hyd Teyrnaſoedd gwynion *Uchelder*, er maint, etto gwŷch oedd ein cwympni, nid oeddem ni 'n bwrw am ddim llai na'r *cwbl*; ac ni chollaſom mo'r cwbl chwaith, canys wele Wledydd helaeth a dyfnion hyd eitha Gwylltoedd *Deſtryw* fawr, tan ein rheolaeth ni etto. Gwyr yw, mewn dirboen anaelef yr ŷm ni 'n teyrnaſu, etto gwell gan yſprydion o'n uchder ni *deyrnaſu* mewn penyd na *gwaſanaethu* mewn eſmwythyd.

thyd. Ac heblaw *hwn*, dyma ni agos ac ennill Byd *arall*, mae mwy na phum rhann o'r *Ddaiar* tan fy maner i er's talm. Ac er darfod i'r Gelyn hollalluog yrru ei Fab ei hun i farw troftynt, etto 'r wyfi wrth fy nheganeu yn mynnu dêg enaid am un a gaffo fo gyda 'i Fâb croefhoeliedig. Ac er na chyrraeddwn i gyffwrdd Ef yn y Goruchafon, fy 'n ergydio 'r taraneu anorchfygol; etto melys yw dial *rywfordd*: Gorphenwn inneu ddifa 'r gweddill fy o Ddynion yn ffafr ein Deftrywiwr ni. Mae 'n gôf genni 'r amfer y parafoch iddynt lofci yn fyddinoedd, ac yn ddinafoedd, iè, i Ddaiarlwyth cyfan ddefcyn trwy 'r Dw'r, attom ni i'r tân. Ond yrwan er nad yw'ch *nerth* a'ch *creulonder* naturiol ronyn llai etto, rŷchwi wedi rhyw ddiogi: Ac oni bai hynny gallafem fod er's talm wedi difa'r ychydig rai duwiol, ac wedi ynnill y Ddaiar i fod yn un â'r Llywodraeth fawr yma. Ond gwybyddwch hyn, weinidogion duon fy nigofaint, oni byddwch glewach a phryfurach weithian a byrred yw 'n amfer ni, myn *Annwn* a *Deftryw*, ac myn y *Fagddu fawr dragwyddol*, cewch brofi pwys fy llid arnoch eich hunain yn gyntaf, mewn poeneu newyddion a dieithrol i'r hyna o honoch, ac ar hyn fe guchiodd oni chwmylodd y Llŷs yn faith dduach nac o'r blaen. Yn hyn cododd *Moloc* un o'r Pennaethiaid cythreulig,

cythreulig, ac wedi gwneud i foes i'r Brenin, ebr ef, O Empriwr yr Awyr, Rheolwr mawr y Tywyllwch, nid amheuodd neb erioed fy 'wllys i at eitha malis a chreulonder, canys dyna mhlefer i 'rioed: Odiaeth oedd genni glywed plant yn trengu yn y tân, megis gynt pan aberthid hwy i mi tu allan i *Gaerſalem*. Hefyd wedi i'r Gelyn croeſhoeliedig ddychwel i'r Uchelder, mi a fûm yn amſer dêg o Ymerodron yn lladd ac yn lloſci ei ddilynwyr ef, i geiſio difa 'r *Criſt'nogion* oddiar wyneb y ddaiar, tra thycciodd i mi. Gwneuthum ym *Mharis* ac yn *Lloegr* ac amryw fanneu eraill lawer lladdfa fawr o honynt wedi hynny: Ond beth ydys nês? tyfu a wnai 'r Pren pan dorrid ei geincieu: Nid yw hyn oll ond dangos dannedd heb allu mor brathu. Pſhaw, ebr *Lucifer*, baw i'r fâth luoedd digalon a chwi, ni hydera 'i arnochwi mwy. Mi wna 'r gwaith fy hun, ac a fynna'r orcheſt yn ddi-rann: Af i'r Ddaiar yn fy mherſon brenhinol fy hun, ac a lyncaf y cwbl oll, ni cheir dyn ar y ddaiar i addoli 'r Goruchaf mwy: ac ar hyn fe roes hedlam cynddeiriog i gychwyn, yn un ffurfafen o dân byw. Ond dyma 'r *Dwrn* uwch ei ben yn gwyntio 'r *fôllt* ofnadwy onid oedd e'n crynu 'nghanol ei gynddaredd, a chyn i fynd e'neppell luſcodd

llaw anweledig y Cadno yn ei ôl heb waetha 'i ên gerfydd ei gadwyn: ac ynte 'n ym gynddeiriogi 'n saith pellach, a 'u lygaid yn waeth na dreigieu, mŵg dudew oi ffroeneu, tân gwyrddlas oi gêg a'i berfeddeu, gan gnoi ei gadwyn yn ei osid, a sibrwd cabledd echryslawn, a rhegfeydd tra arswydus. Ond wrth weled ofered oedd geisio'i thorri neu ymdynnu a'r Hollalluog, fe aeth iw le, ac ymlaen yn ei ymadrodd beth gwareiddiach, etto 'n ddau mileiniach. Er na threchei neb ond y Taranwr Hollalluog fy nerth i am dichell; etto gan fod ynghorfod ymostwng i *hwnnw* heb y gwaetha; Nid oes gennif mo'r help, ond mi a gâ fwrw fy llîd yn îs ac yn nês attaf, ai dywallt yn gafodydd ar y rhai fy eusys tanfy maner i, ac ynghyrraedd fynghadwyn. Codwchwitheu Swyddogion Destryw, Rheolwyr y tân anniffoddadwy, ac fel y bo fy llîd a'm gwenwym i yn llenwi, a'm malis yn berwi allan tenwch chwitheu'r cwbl oll yn ddichlin rhwng y Damniaid, ac yn benna'r *Crystnogion*; cymmellwch y peirianneu penyd hyd yr eithaf, dyfeisiwch, dyblwch y tân a 'r berw oni bo 'r peirie 'n codi'n damchweydd tros eu penneu, a phan fônt mewn eitha poen anrhaethawl

ethawl yna gwawdiwch, gwatwerwch hwynt, ac edliwiwch, a phan ddarffo i chwi'r cwbl a fedroch o ddirmyg a chwerwder bryffiwch attafi a chewch ychwaneg. Bafei gryn *ddiftawrwydd* yn Uffern er's ennyd, a 'r poene 'n hyder creulonach wrth eu cadw i mewn. Ond yrwan torrodd yr Ofteg a barafei *Lucifer*, pan redodd y Cigyddion erchyll fel Eirth newynllyd cynddeiriog ar eu carcharorion, yna cododd y fâth och, och, och ! a 'r fâth *wae* ac *udfa gyffredin*, mwy na sŵn lifddyfroedd neu dwrw daiargryn, onid aeth Uffern yn faith erchyllach. Minneu a lewygafwn oni bafei i' m hanwyl Gyfaill fy achub, cymmer ebr ef, lawer yrawron i'th nerthu i weled petheu garwach etto na rhain. Ond prin y daethei'r gair o'i eneu ef, pan wele'r Nefol *Gyfiawnder* fy uwch ben y *Geulan* yn cadw drŵs Uffern, yn dyfod tan fcwrfio tri o ddynion â gwiail o fcorpionau tanllyd. Ha, ha ! ebr *Lucifer*, dyma drywyr parchedig, y teilyngodd *Cyfiawnder* ei hun eu hebrwng i'm Teyrnas i; Och fi fyth, ebr un o'r tri, pwy oedd yn ceifio ganddo ymboeni? Ni waeth er hynny ebr *ynte*, (â golwg a wnaeth i 'r Diawliaid ddelwi a chrynu onid oeddynt yn curo'n eu gilydd) wllys y

Creawdr mawr oedd i mi fy hun ddanfon y fâth Fwrdrwyr melltigedig iw cartre. Syre, ebr ef, wrth un o'r Cythreuliaid, egorwch i mi ffollt y Mwrdwr lle mae *Cain*, *Nero*, *Bradshaw*, *Boner* ac *Ignatius* ac aneirif eraill o'r cyffelyb. Och, och! ni laddasom ni neb, ebr un; Diolch i chwi, eisieu cael amser, am ddarfod eich rhwystro, ebr *Cyfiawnder*. Pan egorwyd yr Ogo, daeth allan y fâth damchwa echrys o fflammeu gwaedlyd, a'r fâth waedd a phettei fil o Ddreigieu 'n rhoi 'r ebwch ola wrth drengu. Ac wrth i *Gyfiawnder* fynd heibio 'n ôl, a'r hanner tro fe chwythodd y fâth dymmestl o Gorwyntoedd tanllyd ar y Fall fawr ai holl Bennaethiaid, oni chippiwyd ymaith *Lucifer*, yna *Belzebub*, *Satan*, *Moloc*, *Abadon*, *Asmodai*, *Dagon*, *Apollyon*, *Belphegor*, *Mephostophiles* a'r holl brif-gythreuliaid eraill, ac a'u pendifadwyd oll i ryw Sugn-dwll can ffeiddiach ac erchyllach ei olwg a'i archfa ofnadwy na dim oll a'r a welswn i, a hwnnw'n cau ac yn egoryd ynghanol y Llŷs. Ond cyn i mi gael gofyn; Dyma, eb yr angel, *Dwll* sy'n descyn i Fyd mawr arall. Beth ebr fi ertolwg y gelwir y Byd hwnnw? Fo'i gelwir ebr ef *Annw'n* neu *Ufferneitha*, cartre 'r Cythreuliaid,

ac lle 'r aethant yr awron: A'r holl *Wyll-toedd* mawrion y daethosti tros beth o ho-nynt, a elwir *Gwlâd yr Anobaith*, lle a drefnwyd i Ddynion damnedig hyd *Ddyddfarn*, ac *yna* fe syrth hon yn un a'r *Uffern eitha* ddiwaelod. Yna daw un o honom ninneu ac a gau ar y *Diawliaid* a'r *Damniaid* ynghŷd, ac byth yn dragywydd ni egorir arnynt mwy. Ond yn y cysam-ser maent yn cael cynnwysiad i ddyfod i'r Wlad oerach yma i boeni'r eneidieu colle-dig. Ie maent yn fynych yn cael cennad i fynd i'r Awyr ac o gwmpas y ddaiar i demtio dynion i'r ffyrdd diniftriol sy 'n tywys i'r diadlam Garchar tra scethrin hwn. Ynghanol hyn o hanes, â mi 'n synnu fod *Cêg Annwn* yn rhagori cym-maint ar *Safn Uffern ucha*, mi glywn dra-mawr drŵst arfeu ac ergydion geirwon o un cwrr, ac megis taraneu crôch yn eu hatteb o'r cwrr arall, a'r Creigieu angheu-ol yn diasbedan. Dyma sŵn rhyfel, ebr fi, os bydd rhyfel yn Uffern. Bydd ebr ef, ac nid possibl fod yma ond rhyfel gwa-stadol. A ni 'n cychwyn allan i edrych beth oedd ymatter, gwelwn Gêg Anw'n yn ymagor, ac yn bwrw fynu filoedd o ganhwylleu gwyrdd-hyllion y rhain oedd *Lucifer* a'i Bennaethiaid wedi gorfod y

dymmestl. Ond pan glybu e'r trŵst Rhyfel, fe aeth yn lasach nac Angeu, ac a ddechreuodd alw a hèl byddinoedd o'i hên Sawdwyr profedig i ostegu'r cythryfwl; yn hynny dyma fe 'n taro wrth gorgi o ddieflyn bâch, a ddianghasei rhwng traed y rhyfelwyr: Beth yw'r matter, ebr y Brenin? Y fâth fatter ac a berygla eich coron, oni edrychwch attoch eich hun —— ynghynffon hwn dyma redegwas cythreulig arall yn crugleisio, 'r ŷchwi 'n dyfeisio aflonyddwch i eraill, edrych weithian at eich llonydd eich hun; daccw'r *Tyrciaid*, y *Papistiaid* a'r *Rowndieid* llofruddiog, yn dair byddin yn llenwi holl wastadedd y *Fagddu*, ac yn gwneud y mawrddrygeu 'n gyrru pôb pêth dinbenstrellach. Pa fodd y daethant allan, ebr y Fall fawr, tan edrych yn waeth na *Demigorgon?* Y Papistiaid ebr y gennad ni wn i pa fodd, a dorrasant allan o'u *Purdan*, ac yna o achos hen lîd aethant i ddifachio ceuddrws *Paradwys Mahomet*, a gollyngasant y *Tyrciaid* allan o'u carchar, ac wedi yn y Cythryfwl caed rhyw ffael i hîl *Cromwel* dorri allan o'u celloedd. Yna troes *Lucifer* ac a edrychodd tan ei Orseddfainc lle 'r oedd yr holl Frenhinoedd colledig, ac a barodd gadw *Cromwel* ei hun yn ei ganel, a hefyd holl *Ymerodron* y *Tyrciaid* yn ddiogel. Felly hyd wylltoedd duon y Tywyllwch

wyllwch pryſurodd *Lucifer* a'i luoedd, a phawb yn cael *goleu* a *gwrês* ar ei gôſt ei hun, wrth yr anferth drŵſt cyfeiriodd yn lew tu ac attynt; yna gorchmynwyd *goſteg* yn enw 'r Brenin, a gofynnodd *Lucifer*, beth yw achos y Cythryfwl yma yn fy Nheyrnas i? Rhyngai fodd i'ch Mawrhydi uffernol, ebr *Mahomet*, dadl a ddechreuodd rhyngofi a'r Pâp *Leo* p'run a wnaethei i chwi fwya o waſanaeth ai f' *Alcoran* i, ai crefydd *Rufein:* ac yn hynny, ebr ef dyma yrr o *Rowndieid* wedi torri eu carchar yn y trŵſt, ac yn taro i mewn hwytheu, gan daeru 'r haeddei eu *Lêg* a'u *Cofenant* fwy parch ar eich llaw nac yr un: felly o *ymdaeru* i *ymdaro* o *eirieu* i *arfeu*. Ond weithian gan i'ch Mawrhydi ddychwelyd o *Annwn*, Mi a rôf y matter arnochwich Hunan. Arhowch, ni ddarfu i ni â chwi felly ebr Pâp *Julius*, ac atti hi winedd a dannedd eilwaith yn gynddeiriog, onid oedd yr ergydion megis daiargryn, a'r tair byddin Damniaid hyn yn darnio'u gilydd, ac yn aſſio eilwaith fel nadroedd, ar draws y tarennydd eirias danheddog, nes peri o *Lucifer* iw hên Sawdwyr, Cawri Annwn eu tynnu oddiwrth eu gilydd, ac ni bu hawdd. Pan ddiſtawodd y derfyſc dechruodd y Pâp *Clement* lefaru, O Empriwr yr Erchyllion, ni wnaeth un gadair erioed ffyddlonach a chyffredinach gwaſanaeth i'r Goron uffernol,

uffernol, nac a wnaeth Escobion *Rufain*, tros lawer o'r Byd er's uncant o'r ddeg o flynyddoedd, Gobeithio na oddefwch i neb ymgystadlu â ni am eich ffafr. Wel', ebr *Scotyn* o lwyth *Cromwel*, er maint gwasanaeth yr *Alcoran* er's wythcant o flynyddoedd, ac *ofer-goelion y Pâp* er cyn hynny, etto gwnaeth y *Cofenant* fwy er pan ddaeth allan. Ac mae pawb yn dechreu ammeu a diflasu ar y lleill, ond yr ŷm *ni* etto ar gynnydd hyd y byd, ac mewn grym yn Ynys eich Gelynion, sef *Prydain*, ac yn *Llundain* y Ddinas ddedwydda sy tan Haul. Hai, hai, ebr *Lucifer*, os da clywai 'rŷchwi yno ar fynd tan gwmmwl chwitheu. Ond beth bynnac a wnaethoch mewn teyrnasoedd eraill, ni fynnai mo'ch gwaith yn cythryblio Nheyrnas i. Am hynny gwastattewch yn frau tan eich perygl o fwy o boeneu corphorol ac ysprydol. Ar y gair, gwelwn lawer o'r Diawliaid, a'r hôll Ddamniaid yn taro 'u cynffonneu rhwng eu carneu, ac yn lladratta bawb iw dwll rhag ofn cyfnewid waeth. Yna wedi peri cloi 'r cwbl yn eu llochesau, a chospi a newid y Swyddogion diofal a'u gollyngasei hwynt i dorri allan, dychwelodd *Lucifer* a'i Gynghoriaid i'r Brenhinllys, ac eisteddasant eilwaith yn ol eu graddeu ar y gorseddfeincieu llôsc: Ac wedi peri gosteg, a chlirio 'r lle, dyma glamp o Ddiawl ysc-

wyddgam

wyddgam yn gosod cefn llwyth o garcharorion n'wyddion o flaen y Barr. Ai dyma 'r ffordd i *Baradwys*, ebr un? Canys ni wyddeint amcan ple 'r oeddynt. Neu os y *Purdan* yw yma, ebr un arall, mae gennym ni gynnwysiad tan law 'r *Pâp* i fynd i Baradwys yn union, heb aros yn un lle funyd: am hynny dangoswch i ni 'n ffordd, onide myn bawd y Pâp ni a wnawn iddo 'ch cospi. Ha, ha, ha, he—ebr wythgant o Ddiawliaid, a *Lucifer* ei hun a wahanodd ei scithredd hannerllath i ryw chwerw chwerthin. Synnodd y lleill wrth hyn; ond, ebr un, wele, os collasom y ffordd yn y tywyll, ni a *dalwn* am ein cyfarwyddo. Ha, ha, ebr *Lucifer*, cewch dalu 'r ffyrling eitha cyn yr eloch; ( ond erbyn chwilio, yr oedd pob un wedi gadel ei glôs ar ei ôl. ) Gadawsoch *Baradwys* ar y llaw chwîth tu ucha i'r Mynyddoedd frŷ, ebr y Fall, ac er hawsed dyfod i wared yma, etto nesa i amhossibl yw myned yn ôl, gan dywylled a drysed yw 'r Wlâd, a maint sy oElltydd heirn tanllyd ar y ffordd, a Chreigieu dirfawr yn crogi trosodd, a splentydd dibyn o rew anhygyrch, ac ymbell raiadr serthgry, sy 'n rhydost oll i 'mgribinio trostynt oni byddei gennych ewinedd diawledig o hŷd. Hai, hai, ebr ef, ewch a'r pembyliaid hyn i 'n *Paradwys ni* at eu cymeiriaid. Ar hyn, clywn lais rai 'n

rai 'n dyfod tan dyngu a rhegu 'n greulon, O Diawl! gwaed Diawl! mil canmil o Ddiawl! mil myrddiwn o Ddiawl êl a mi os âf! ac er hynny dyma 'u taflu chwapp ger bron. Dyma, ebr y Ceffyl, i chwi bwn o gyſtal tanwydd a'r gore 'n uffern. Beth ydynt, ebr *Lucifer*, Meiſtr y gelfyddyd fonheddigaidd o *dyngu* a *rhegu*, ebr yntef, Gwŷr a fedr *iaith Uffern* cyſtal a ninneu. Celwydd yn eich gên myn Diawl, ebr un o honynt. Syre, a gymerwchwi f' enw i 'n ofer, ebr y *Fall* fawr? Hai, ewch a bechiwch hwy ynghrôg gerfydd eu tafodeu wrth y clogwyn eirias accw, a byddwch parod iw gwaſanaethu, os Diawl a alwant, neu os mîl o Ddiawl, hwy a gânt eu gwala. Pan aeth y rhain, dyma Gawr o Gythreul yn gwaeddu am glirio 'r Barr, ac yn taflu yno lwyth o Wr. Be'ſy yna, ebr *Lucifer?* *Tafarnwr*, ebr ynteu. Pa beth, ebr y Brenin, un Tafarnwr? Lle byddeint yn dyfod o feſur chwemil a ſeithmil. Onid ŷchwi allan er's dêg mhlynedd, Syre, ac heb ddwyn i ni ond un? a hwnnw 'n un a wnaethei i ni chwaneg o waſanaeth yn y byd na chwi ddrewgi diog. 'Rŷch chwi 'n rhŷ dêg i'm bwrw cyn fy ngwrando, ebr ynteu. Ni roeſid ond hwn yn fy ſiars i, ac wel'dyma fi 'n rhydd oddiwrth hwn. Ond etto mi yrrais i chwi o *Dy* hwn lawer *oferwr* wedi yfed

cynhaliaeth

cynhaliaeth ei dylwyth, ymbell *ddisiwr* a *chardiwr*, ymbell *dyngwr* tlŵs, ymbell *folerwr* mwyn *di-falis*, ymbell *wâs diofal*, ymbell *forwyn grôch* yn y gegin, a mwynach na dim yn y Seler neu'r gwely. Wel, ebr y Fall fawr, er yr haeddei 'r *Tafarnwr* fod ymŷsc y *Gwenieithwyr* odditanom ni, etto âg e'r awron at ei gymeiriaid i gell y *Mwrdwr gwlyb*, at lawer o *Botecariaid* a *Gwenwynwyr*, am wneud diod i ladd ei cwsmeiriaid, berwch ynte 'n dda, eisieu iddo ef ferwi ei gwrw 'n well. Trwy 'ch cennad, ebr y tafarnwr, tan grynu, ni haeddwn ni ddim o'r fâth beth; ond rhaid i trâd fyw? Ai ni allechwi fyw, ebr y Fall, heb gynnwys oferedd a chwareuon, putteindra meddwdod, llyfon, cwerylon enllib a chelwydd? ac a fynnech chwi hên ufferngi, fyw bellach yn well na ninneu? Ertolwg, pa ddrwg sy gennym ni yma, nad oedd gennit titheu gartre, ond y *gôsp* yn unig? Ac o ddywedyd i chwi 'r caswir yma, nid oedd y *gwrês* a'r *oerfel* uffernol ddieithr i chwi chwaith. Oni welsoch wreichionen o'n *tân ni* yn nhafodeu 'r *Tyngwyr*, a'r *Yscowliaid* wrth geisio 'u Gwŷr adre. Onid oedd llawer o'r tân aniffoddadwy ynghêg y *meddwyn*, yn llygad y *llidiog*, ac yngaflach y *buttein*? Ac oni allasech weled peth o'r *oerfel uffernol* ynghariedigrwydd yr Oferwr, ac yn siccr yn eich mwynder

mwynder eich hun tu ac attynt tra pharhae ddim ganddynt, yn ysmal'dod y *gwawdwyr*, ynghlôd y *cenfigennus* a'r *athrodwr*, yn addewidion yr *anllad*, neu ynghoesfeu 'r *Cymdeithion dâ'* fferri tan eich byrddau. Ai dieithr genniti uffern, a thithe'n cadw uffern gartre? dôs fflamgi at dy benyd. Yn hyn dyma ddêg o Gythreuliaid yn bwrw eu beichieu ar y llawr tanbaid tan erthwch yn aruthr. Be fy gennych yna, ebr *Lucifer*? Mae gennym ebr un o'r ceffyleu cythreulig, bump o betheu a elwid echdoe yn *frenhinoedd*. (Edrychais lawer a welwn i *Lewis* o *Ffrainc* yn un) Teflwch hwy yma, ebr y brenin; yna taflwyd hwy at y *penneu coronog* eraill tan draed *Lucifer*. Nesa i'r brenhinoedd daeth y *gwyr llys* a'r *gwenieithwyr* lawer. Bwriwyd y rhain bob un tan dîn ei frenin ei hun, fel yr oedd y breninoedd tan dineu'r diawliaid, ynghachty *Lucifer*. Ond yr oedd rhann o'r bawdy o tan y Diawliaid *gwaela*, lle'r oedd y *Witsiaid*, fel gynt ar nôs Iau, felly fyth yn cusanu tineu 'r Ellyllon. Ni chês i fawr ymoroll na chlywn i ganu cyrn prês a gwaeddi lle! lle! lle! Erbyn aros ychydig beth oedd ond gyrr o wŷr y *Seffiwn*, a diawliaid yn cario cynffonneu chwêch o Ustusiaid a myrdd o'u sil yn Gyfarthwyr, Twrneiod, Clarcod, Recordwyr, Bailîaid, Ceisbyliaid a Checcryn y Cyrtieu. Bu ryfedd

ryfedd genni na holwyd un o honynt; ond deallodd y rhain fynd o'r matter yn eu herbyn yn rhybell, ac felly ni agorodd un o'r dadleuwyr dyfcedig mo'i fafn; ond *Cecryn y cyrtieu* a ddyweid y rhoe gŵyn cam-garchariad yn erbyn *Lucifer*, cewch gwyno trwy achos weithian, ebr y Fall, a bod fyth heb weled Cwrt a'ch llygaid. Yn a gwifcodd *Lucifer* ei *gap côch* yntef, ac â golwg drahausfalch anoddef, ewch ebr ef, a'r *Ufsufiaid* i ftafell *Pontius Pilate* at Meiftr *Bradfhaw* a fwriodd y Brenhin *Charls*. Sechwch y *Cyfarthwyr* gyda mwrdrwyr Sir *Edmwnt Bwri-Godffri* a'u cymmeiriaid dau eiriog eraill, a gymmeraint arnynt ymrafaelio a'u gilydd dim ond i gael lladd y fawl a ddêl rhyngddynt; ewch ac annerchwch y Cyfreithiwr darbodus hwnnw, a gynnygiodd wrth farw *fîl o bunneu* am *gydwybod dda*, gofynnwch a roe e 'r awron ddim ychwaneg. Rhoftiwch y *Cyfreithwyr* wrth eu parfmant a'u papureu eu hunain oni ddêl eu perfedd dyfcedig allan, ac i dderbyn y mygdarth hwnnw, crogwch y *Cyrtwyr ceccrys* uwch ei ben, a'u ffroeneu 'n ifa yn y Simneiau rhôft, i edrych a gaffont fyth lond eu bol o *Gyfraith*. Y *Recordwyr*, teflwch hwy rwan i fyfc y *Maelwyr*, a fydd yn attal neu 'n rhagbrynnu 'r ŷd, ac yn ei gymmyfcu, yna gwerthu 'r ammur yn nwbl brîs y puryd: felly hwytheu, myn-

nant am *gamm* ddwbl y ffîs a roid gynt am *uniondeb.* Am y *Ceisbyliaid*, gedwch hwy 'n rhyddion i bryfetta, ac iw gyrru i'r byd i geunentydd a pherthi, i ddàl dyledwyr y Goron uffernol; oblegid pa'r ddiawl sy o honoch a wna 'r gwaith well na hwy? Yn y man dyma ugain o ddiawliaid fel *Scotsmyn* a phaccieu traws ar eu hyscwyddeu, yn eu descyn oflaen yr Orsedd ddiobaith, a pheth oedd ganddynt erbyn gofyn ond *Sipsiwn*, ho! ebr *Lucifer*, pa fodd y gwyddeich chwi *Ffortun* rhai eraill cystal, ac heb wybod fod eich Ffortun eich hunain yn eich tywys i'r fangre hon? Nid oedd atteb gair, wedi synnu weled yma betheu gwrthunach na hwy eu hunain. Teflwch hwy, ebr y Brenin, at y *Witsiaid* i'r cachty ucha, am fod eu hwynebeu mor debyg i liw 'r baw. Nid oes yma na *Chathod* na *Chanwylleu-brwyn* iddynt, ond gedwch iddynt gael llyffant rhyngddynt unwaith bôb dengmil o flynyddoedd os byddant distaw, heb ein byddaru â'u *gibris dy-glibir dy-glabar.* Yn nesa i'r rhain daeth debygwni ddêg ar hugain o *Lafurwyr.* Synnodd ar bawb weled cynnifer o'r alwedigaeth oneft honno, ac anamled y byddeint yn dyfod: ond nid oeddynt o'r un fro, nac am yr un *beieu.* Rhai am *godi 'r Farchnad*, llawer am *attal degymmeu* a thwyllo 'r Eglwyswr o'i gyfiawnder, eraill am adael eu gwaith i

*ddilyn*

*ddilyn bon'ddigion*, ac wrth geisio cydgammu â rheiny torri eu ffwrch; rhai am *weithio ar y Sul*, rhai am ddwyn eu *Defaid a'u Gwartheg* yn eu penneu *i'r Eglwys* yn lle ystyried y Gair, eraill am *ddrwg fargenion*. Pan aeth *Lucifer* iw holi, oh! 'roeddynt oll cyn laned a'r aur, ni wyddei neb arno 'i hun ddim a haeddei 'r fâth letty. Ni choeliti rhawg dacclused escus oedd gan bôb un i guddio 'i fai, er eu bod eusys yn Uffern o'i herwydd, a hynny dim ond o ddrygnaws i groesi *Lucifer*, ac i geisio bwrw anghyfiawnder ar y Barnwr cyfion a'u damniasei. Etto basei rhyfeddach gennit ddeheued yr oedd y Fall fawr yn dinoethi 'r briwieu, ac yn atteb eu coeg-escusion hyd adref. Ond pan oedd y rhain ar dderbyn y farn uffernol oll, dyma ddeugain o '*Scholheigion* yn dyfod ger bron ar lamhedyddion o ddiawliaid gwrthunach pettei bossibl na *Lucifer* ei hun. A phan glybu 'r Scolheigion y llafurwyr yn ymresymmu, hwy ddechreuasant yn hyfach ymescusodi. Ond, oh! barotted yr oedd yr hên Sarph yn eu hatteb hwytheu, er maint eu dichell a'u dysceidiaeth. Eithr gan ddigwydd i mi weled y cyffelyb ddadleuon mewn Brawdle arall, mi rôf yno hanes y cwbl tan un; ac a fynegaf y rwan it beth a welais nesa 'n y cyfamser. Prin y traethasei *Lucifer* y farn ar y rhain, a'u gyrru am oered eu rhesym-

meu i'r Splent fawr yn *Gwlâd yr Iâ* tragwyddol, a hwythe 'n dechreu rhincian eu dannedd eusys cyn gweled eu carchar, dyma Uffern eilwaith yn dechreu dadseinio 'n aruthrol, gan ergydion ofnadwy a tharaneu crôch rhuadwy, a phob sŵn rhyfel; gwelwn *Lucifer* yn duo ac yn delwi; yn y munyd daeth scithell o ddieflyn carngam i mewn tan ddyhead a chrynu. Beth yw 'r matter, ebr *Lucifer?* Y matter perycla i chwi er pan yw Uffern yn Uffern, ebr y bach; mae holl eithafoedd Teyrnas y tywyllwch wedi torri allan i'ch erbyn, a phawb yn erbyn eu gilydd, yn enwedig y sawl oedd â hên 'lanasdra rhyngddynt, ddant yn nant nad yw bossibl eu tynnu oddiwrth eu gilydd. Mae 'r *Sawdwyr* benben a'r *Physygwyr* am ddwyn eu trâd *llâdd*; Mae myrdd o *Logwyr* benben a'r *Cyfreithwyr* am fynnu rhann o'r trâd *'speilio.* Mae 'r *Cwestwyr* a'r *Hwndlwyr* ar falu y *bon'ddigion*, am *dyngu* a *rhegu* heb raid, lle 'r oeddynt hwy 'n byw wrth y trâd. Mae 'r *Putteiniaid* a'i Cymdeithion, a myrddiwn eraill o hên Geraint a Chyfeillion gynt wedi syrthio allan yn chwilfriw. Ond gwaeth na dim yw 'r gâd sy rhwng yr hên *Gybyddion* a'u Plant eu hunain am afradloni 'r da a'r arian a gostiodd i ni (medd y *Cottiaid*) gryn boen ar y ddaiar, ac anfeidrol ing *yma* dros byth: A'r Meibion o'r tu arall yn

rhegu ac yn rhwygo 'r cribinwyr yn fellti-gedig, gan roi eu galanafdra tragwyddol ar eu Tadau, am adel iddynt ugain *gormod* iw gwallcofi o falchder ac oferedd, lle gallafei *ychydig* bâch gyda bendith eu gwneud yn happus yn eu dau fyd; wel', ebr *Lucifer*, digon, digon! rheitiach arfeu na geirieu. Ewch yn ôl, ebr ef, Syre, ac yspiwch ymhôb gwiliadwriaeth p'le bu 'r esceulusdra mawr hwn, a pheth yw 'r achos: canys mae rhyw ddrygeu allan na wyddys etto. Ymaith â hwnnw ar y gair, ac yn y cyfamser cododd *Lucifer* a'i Bennaethiaid mewn braw ac arswyd mawr, a pharodd gasclu 'r byddinoedd dewra o'r Angylion duon, ac wedi eu trefnu cychwynodd ei hun allan ymlaenaf i oftegu 'r gwrthryfel, a'r Pennaethiaid a'u lluoedd hwytheu ffrydd eraill. Cyn i'r fyddin frenhinol fyned yn neppell fel mêllt hŷd y Fagddu hyll (a ninneu o'u lledol) dyma 'r trwst yn dyfod iw chyfwrdd. Gosteg yn enw 'r Brenin, ebr rhyw fonllefwr cythreulig! Nid oedd dim clywed, haws tynnu 'r hên afanc o'i gafael nac un o'r rhain. Ond pan drawodd hên Sawdwyr profedig *Lucifer* yn ei plîth, dechreuodd y chwyrnu a'r ymdolcio a'r ergydion laryeiddio. Gosteg yn enw *Lucifer*, ebr y crochlefwr eilwaith. Beth ydy 'r matter, ebr y Brenin, a phwy yw y rhain? Attebwyd, nid oes yma

 ddim

ddim ond darfod yn y cythryfwl cyffredin i'r *Porthmyn* daro wrth y *Cwcwaldiaid*, a mynd i ymhyrddio i brofi p'run oedd gletta 'i *Cyrn:* ac hi allasei fynd yn hên ymgornio oni basei ich Cawri corniog chwitheu daro i mewn. Wel', ebr *Lucifer*, gan eich bod oll mor barod eich arfeu, trowch gyda mi i gystwyo'r Terfyscwyr eraill. Ond pan aeth y si at y Gwrthryfelwyr eraill, fod *Lucifer* yn dyfod â thair byddin gorniog i'w herbyn, ceisiodd pawb iw wâl. Ac felly ymlaen yn ddiwrthwyneb yr aeth *Lucifer* hyd y Gwylltoedd dinistriol, tan holi a chwilio beth oedd ddechreu 'r cynnwr, heb air sôn. Ond ymhen ennyd, dyma un o spiwyr y Brenhin wedi dychwelyd ac âi anadl yn ei wddf, O! ardderchoccaf *Lucifer*, ebr ef, mae 'r Twysog *Moloc* wedi gostegu peth o'r Gogledd a darnio miloedd ar draws y Splentydd: Ond mae etto allan dri neu bedwar o *Ddrygeu* geirwon yn y gwynt. Pwy ydynt, ebr *Lucifer?* Mae, ebr ef, *Atrodwr*, a *Medleiwr*, a *Checryn cyfreithgar*, wedi torri 'r carcharau a mynd yn rhyddion. Nid oes ynteu ddim rhyfedd, ebr y Fall fawr pedfasei 'chwaneg o gythryfwl. Yn hyn, dyma un arall a fasei ar yspî tuar Deheu, yn mynegu fod y drŵg yn dechreu torri allan yno, oni charcherid *tri* oedd eusys wedi gyrru pob peth bendramwnwgl

mwnwgl yn y Gorllewin: a'r tri hynny oedd *Marchoges*, a *Dyfeisiwr*, a *Rhodresŵr*. Wel', ebr *Satan*, oedd yn sefyll nesa ond un at *Lucifer*, er pan demtiais i *Adda* o'i ardd, ni welais etto o'i hîl ef gymmaint o ddrygeu allan ar unwaith erioed. Marchoges, Rhodresŵr a Dyfeisiwr, ac o'r tu arall Athrodwr, Cyrtiwr a Medleiwr! dyna gymmysc a bair i fîl o Ddiawliaid chwydu eu perfeddeu allan. Nid oes ryfedd, ebr *Lucifer*, eu bod mor atcas gan bawb ar y ddaiar, a hwythe 'n gallu gwneud cymmaint blinder i ni yma. Gronyn ymlaen, dyma 'r *Farchoges* fawr yn taro wrth y Brenin yn yngwrth ar ei hynt. Ho! modryb ar clôs, ebr rhyw Ddiawl crôch, nosda'wch: iè, 'ch modryb, o ba 'r dy, attolwg, ebr hithe 'n ddigllon? eisieu 'i galw *Madam*. Brenin gwŷch ydychwi *Lucifer*, gadw 'r fâth bembyliaid anfoesol, pechod fod cymmaint Teyrnas tan un mor anfedrus yn ei llywodraethu; Ona wneid fi, ebr hi, yn Rhaglaw arni— Yn hyn, dyma 'r *Rhodresŵr* tan bendwmpian yn y tywyll, Eich gwasanethwr, Syr, meddei fo wrth un, tros ei yscwydd— Ychwi 'n iâch lawen, wrth y llall— Oes dim gwasanaeth a'r a allwn i ichwi, wrth y trydydd, tan gil-wenu 'n goegfall. Mae 'ch glendid yn fy hudo i, eb ef wrth y Farchoges. Och! och! ymaith a'r ffiamgi yma, ebr honno,

a

a phob un yn gwaeddi ymaith a'r poenwr newydd yma! Uffern ar Uffern yw hwn. Rhwymwch ef a hitheu dinbren-drosben, ebr *Lucifer*. Ymhen ennyd, dyma *Gwmbrys y Cyrtieu* yn nàl rhwng dau Ddiawl. O ho! Angel tangneddyf, ebr *Lucifer*, a ddaethofti! cedwch e'n ddiogel tan eich perygl, ebr ef, wrth y Swyddogion. Cyn i ni fynd nemor, dyma 'r *Dyfeiſiwr* a'r *Athrodwr* yn rhwym rhwng deugain o ddiawliaid, ac yn ſiffial ynghluſtieu i gilydd. O ardderchoccaf *Lucifer*, ebr y *Dyfeiſiwr*, drwg iawn genni fod cymmaint cythryfwl yn eich Teyrnas, ond mi a ddyſcaf i chwi ffordd well os câ 'i ngwrando,nid rhaid i chwi ond yn eſcus Parliament ddyfyn y Damniaid oll i 'r *Fallgyrch-eirias*, ac yna peri i'r Diawliaid eu pendifadu bendramwnwgl i *Gêg Annw'n*, a'u cloi yn y Sugnedd, ac yna cewch lonydd ganddynt. Wel', ebr *Lucifer*, tan guchio 'n dra-melltigedig, ar y *Dyfeiſiwr*, mae 'r Medleiwr cyffredin etto 'n ôl. Erbyn ein dyfod eilwaith i gyntedd y Llŷs cythreulig, pwy a ddaeth decca i gyfwrdd y Brenin ond y *Medleiwr*. O fy Mrenin, ebr ef, mae i mi air â chwi. Mae i mi un neu ddau â thitheu ondodid, ebr y Fall. Mi a fûm, ebr ynte, hyd hanner *Deſtryw* yn edrych pa fodd yr oedd eich matterion chwi 'n ſefyll. Mae gennych lawer o Swyddogion yn y Dwyrain heb wneud

wneud affaith ond eiſte 'n lle edrych at boeni ei carcharorion nau cadw chwaith, a hynny a barodd y cythryfwl mawr yma. Heb law hynny, ebr ef, mae llawer o'ch Diawliaid ac o'ch Damniaid hefyd a yrraſoch i'r byd i demtio, heb ddychwelyd er darfod eu amſer, ac eraill wedi dyfod yn *llechu*, yn lle rhoi cyfri o'u negeſeu. Yna parodd *Lucifer* iw groch-lefwr gyhoeddi Parliament drachefn, ac ni bu 'r holl Bennaethiaid a'u Swyddogion dro llaw 'n ymgyfwrdd i wneud yr eiſteddfod gythreulig i fyny eilwaith. Cynta peth a wnaed oedd newid Swyddogion a pheri gwneud lle o amgylch Cêg Annwn i'r *Rhodreſwr* a'r *Farchoges* drwyndrwyn, ac i'r terfyſcwyr eraill yn rhwym dinben drosben, a rhoi allan gyfraith pa ddieflyn neu gollddyn bynnac a droſeddei ei Swydd rhagllaw, y cai ei fwrw yno rhyngddynt hyd Ddyddfarn. Wrth y geirieu hyn gwelit yr holl Erchyllion, iè, *Lucifer* ei hun, yn crynu ac yn cythruddo. Neſa peth fu alw i gyfri rai Diawliaid a rhai Damniaid a yrraſid i'r byd i hèl Cymdeithion; a'r Diawliaid yn dywedyd eu hanes yn dêg: Ond 'r oedd rhai o'r Damniaid yn glôff yn eu cyfri, ac a yrrwyd i'r Yſcol boeth, ac a ſcwrſiwyd â Seirph clymog tanllyd eiſieu dyſcu 'n well. Dyma fenyw lân pan ymwiſco hi, ebr Diawl bach, a yrrwyd i

fyny

fyny i'r byd, i hèl i chwi ddeiliaid gerfydd eu canoleu, ac i bwy 'r ymgynnygiei hi ond i ryw weithiwr llafurus yn dyfod adre 'n hwyr oi orchwyl, a hwnnw 'n lle ymdrythyllu gyda hi aeth ar ei linieu i weddio rhag Diawl a'i Angylion: amſer arall, hi ai at wr afiachus. Hai, teflwch hi, ebr *Lucifer*, at y gollferch ddiles honno a fu 'n caru *Eignion* ab *Gwalchmai* o *Fôn* gynt. Arhowch, nid yw hwn ond y bai cyntaf, ebr y feinir; nid oes etto oddiar flwyddyn er y diwrnod y darfu amdanai, pan i'm *damniwyd* i'ch llywodraeth felltigedig chwi, Frenin y poeneu! nac oes etto mor tair wythnos, ebr y Diawl ai dygaſei hi yno. Am hynny ynteu, ebr hi, pa fodd y mynnech fi mor hyddyſc a'r Damniaid ſy yma er's trychant neu bumcant o flynyddoedd allan yn ſclyſaetha. Os mynnech gennifi well gwaſanaeth, gollyngwch fi i'r byd etto i roi tro neu ddau 'n ddigerydd; ac oni ddygaf i chwi ugain putteinwr am bôb blwyddyn y bwy allan, rhowch arnai 'r gôſp a ſynnoch. Ond ſ' aeth y ferdit yn ei herbyn, a barnwyd iddi fod ganmlynedd hirion tan gerydd y cofiei hi 'n well yr ail dro. Yn hyn, dyma Ddiawl arall yn gwthio *mâb* ger bron; dyma i chwi, ebr ef, ddarn o negeſwr têg, oedd ar grwydr hyd ei hên gymdogaeth uchod y nôs arall, ac a welai leidr yn mynd i ddwyn

ddwyn Stalwyn, ac ni fedrei gymmaint a helpu hwnnw i ddàl yr Ebol heb *ymddangos*, a'r lleidryn pan ei gwelodd a ymgroesodd byth wedi. Trwy gennad y Cŵrt, ebr y Mâb, os cai blentyn y lleidr roddiad *oddiuchod* i'm gweled i, a allwn i wrth hynny? Ond nid yw hwn ond un, ebr ef; nid oes oddiar ganmlynedd er y dydd diescor y darfu byth am danai! a pha sawl un o'm ceraint a'm cymydogion a hudais i yma ar fy ôl yn hynny o amser? Yn Annwn y bwy onid oes gennif gystall 'wllys i'r Trâd a'r goreu o honoch, ond fe geir gwall ar y callaf weithieu. Hai, ebr *Lucifer*, bwriwch ef i Yscol y *Tylwyth-têg*, sy etto tan y wialen am eu castieu diriaid gynt, yn llindagu a bygwth eu cyfneseifiaid, a'u deffroi felly oi diofalwch, canys gweithie 'r dychryn hwnnw 'chwaneg ondodid arnynt na deugain o bregetheu. Yn hyn, dyma bedwar Ceisbwl a Chyhuddwr, a phymtheg o Ddamniaid yn llusco dau *Gythraul* ger bron. Wel, ebr y Cyhuddwr, rhag i chwi fwrw 'r holl gam-negeswriaeth ar hîl *Adda*, dyma, eb ef, ddau o'ch hên Angylion a gamdreuliodd eu hamser uchod cynddrwg a'r ddau o'r blaen. Dyma, walch ail i hwnnw 'n y *Mwythyg* y dydd arall, ar ganol Interlud y Doctor *Faustus*, â rhai ('n ôl yr arfer) yn godinebu a'u llygaid, rhai a'u dwylo, eraill yn llunio cyfarfod

cyfarfod i'r un pwrpas a llawer o betheu eraill buddiol i'ch Teyrnas; pan oeddynt bryfura, ymddangofodd y Diawl ei hun i chwarae ei bart, ac wrth hynny gyrrodd bawb oi blefer iw weddieu: Felly hwn hefyd ar ei hynt hyd y byd, fe glywai rai 'n fôn am fynd i droi o gwmpas yr Eglwys i weled eu Cariadeu, a pheth a wnaeth y catffwl ond ymddangos i'r ynfydion yn ei lun ei hun gartre; ac er maint fu eu dychryn, etto pan gawfant eu côf, rhoifant ddiofryd oferedd ond hynny: lle ni bafei raid iddo ond ymrithio ar lun rhyw fudrogod diffaith, fo 'u tybiafent eu hunain yn rhwym i gymmeryd y rheiny, ac yna gallafei 'r ellyll brwnt fod yn ŵr y tŷ gyda'r ddwylyw, ac ynteu wedi gwneud y briodas. Ac dyma un arall, ebr ef, aeth Nôs-Yftwyll ddiweddaf i ymweled â dwy Ferch ieuanc yn *Nghymru* oedd yn *troi 'r Cryfeu*, ac yn lle denu 'r Genethod i fafwedd yn rhîth Llanc glandeg, mynd âg *Elor* i fobreiddio un; a mynd â *thrwft Rhyfel* at y llall mewn corwynt uffernol iw gyrru o'i chô mhellach nac o'r blaen, ac ni bafei raid. Ond nid hyn mo'r cwbl, eithr wedi iddo fynd i'r llances a'i thaflu ai phoeni 'n dôft, gyrrwyd am rai o'n Gelynion dyfcedig, ni i weddio drofti hi, ac iw fwrw ef allan; yn lle ei themtio hi i anobeithio, a cheifio ennill rhai o'r Pregethwyr,

gethwyr, mynd i bregethu iddynt a dadcuddio dirgelion eich Teyrnas chwi, ac felly yn lle rhwyſtro, help eu hiechydwriaeth : ar y gair *iechydwriaeth*, gwelwn rai 'n dychlammu 'n dân byw o gynddaredd. Têg pôb chwedl heb wrthyneb, ebr y dieflyn : Gobeithio na âd *Lucifer* i'r un o hîl domlyd *Adda* ymgyſtadlu â mi ſy 'n Angel, llawer uwch ſy rhyw a'm bonedd. Hai, ebr *Lucifer*, bid ſiccr iddo ei gôſp; ond Syre, attebwch i'r achwynion yma 'n bryſur ac yn eglur; neu myn Deſtryw diobaith mi wnâ— Mi ddygais yma, ebr ynte, lawer enaid er pan fu Satan yn Gardd *Eden*, ac a ddylwn ddeall fy nhrâd yn well na 'r Cyhuddwr newydd yma — Gwaed uffernol benlewyn, ebr *Lucifer*, oni pherais i chwi atteb yn bryſur, ac yn eglur? Trwy 'ch gorchymyn, ebr y dieflyn, bûm ganwaith yn *pregethu*, ac yn gwahardd i rai amryw o'r ffyrdd ſy 'n arwain i'ch Terfynen chwi, ac etto 'n ddiſtaw â'r un anadl hyd ryw goeg-lwybr arall, yn eu dwyn yma 'n ddigon diogel. Fel y gwneuthum wrth bregethu 'n ddiweddar yn yr *Ellmyn*, ac yn un o ynyſoedd *Fferoe*, ac amryw fanneu eraill. Felly drwy mrhegethiad i y daeth llawer o *goelion* y Papiſtiaid, a'r *hên chwedleu* gynta i'r bŷd, a'r cwbl tan rîth rhyw *ddaioni*. Canys pwy fyth a lwnc fâch heb ddim abwyd? pwy 'rioed

a gâdd goel i ftori oni byddei ryw fefur o *Wir* yn gymyfc a'r *Celwydd*, neu beth rhîth *Daioni* i gyfcodi 'r *Drwg?* Felly os câfinneu wrth bregethu ymŷfc cant o gynghorion cywir a da wthio un o'm heiddo fy hun, mi wnâf â'r ûn hwnnw, trwy *amryfufedd* neu *goel-grefydd*, fwy llês i chwi nac a wnêl y lleill i gŷd fyth ich erbyn, Wel', ebr *Lucifer*, gan eich bôd cyftal yn eich *Pulpyd*, 'rwy 'n d' orchymmyn tros faith mlynedd i fafn un o bregethwyr y *Scubor*, a ddywed y peth a ddêl cynta iw focheu, yno cei ditheu le i roi gair i mewn weithieu at dy bwrpas dy hun. Yr oedd llawer o *Ddiawliaid* ac o *Ddamniaid* ychwaneg yn gwau fel mêllt trwy i gilydd o amgylch yr Orfedd echryflawn i gyfri ac i ail dderbyn Swyddeu. Ond yn fydyn ddiarwybod, dyma orchymyn i'r hôll negefyddion a'r carcharorion fynd allan o'r Llŷs bawb iw dwll, a gado 'r Brenin ai ben-cynghoriaid yno 'n unic. Ond goreu i ninne 'n ymadel, ebr fi, wrth fy nghyfell, rhag iddynt ein cael. Nid rhaid it uno'n, eb yr Angel, ni wêl un Yfpryd aflan byth trwy 'r *llenn* yma. Felly yno 'r arhofafom yn anweledig i weled beth oedd y matter. Yna dechreuodd *Lucifer* lefaru 'n raflawn wrth ei Gynghoriaid fel hyn. Chwi 'r Prîf-Ddrygau yfprydol, chwi ben *Yftrywieu* Annwfn, eitha 'ch dichellion maleifgar wrth

wrth raid yr wy 'n ei ofyn. Nid dieithr i nêb yma mai *Prydain* a'r Ynysoedd oi hamgylch yw 'r Deyrnas berycla i'm llywodraeth i, a llowna o'm Gelynion: A phe sy gan gwaeth, mae yno 'r awron Frenhines beryclaf oll, heb offio troi unwaith tu ac yma, nac hyd hên ffordd *Rufain* o'r naill tu, na chwaith hyd ffordd *Geneva* o'r tu arall; a maint llês a wnaeth y Pâp i ni yno 'n hîr, ac *Olfir* hyd y rwan! Beth a wnawn weithian? Yr wy 'n ofni y collwn yr hên feddiant a'n marchnad yno 'n glîr, oni phalmantwn chwippyn ryw ffordd newydd yn dramwyfa iddynt, canys adwaenant yr hôll hên ffyrdd sy 'n tywys *yma* 'n rhŷ dda. A chan fod y *Dwrn* anorfod hwn yn byrrhau nghadwyn, ac yn fy rhwystro i fy hun i'r Ddaiar, eich cyngor pwy a wnâ'i 'n Rhaglaw tanaf i wrthwynebu 'r Frenhines atcas accw, Rhaglam ein Gelyn ni? O Empriwr mawr y Tywyllwch, ebr *Cerberus* Diawl y *Tybacco*, Myfi sy 'n rhoi traean cynhaliaeth y Goron honno; Myfi a âf ac a yrraf i chwi ganmil o eneidieu 'ch Gelynion trwy dwll *pibell*. Wel', ebr *Lucifer*, ti a wnaethost i mi wasanaeth digon da, rhwng peri lladd y perchenogion yn yr *India*, a lladd y cymerwyr â glafoerion, gyrru llawer iw segur gludo o dŷ i dŷ, eraill i ledratta iw gael, a myrdd iw serchi cymhelled nad allent fod ddiwrnod yn eu

hiawn bwyll hebddo. Er hyn oll, dôs di a gwnâ d'oreu, ond nid wyt ti ddim i'r pwrpas presennol. Ar hyn eisteddodd hwnnw, a chododd *Mammon* Diawl yr *Arian*, ac â golwg dra-chostog lechwrus; Myfi, ebr ef, addangosodd y mwynglawdd cyntaf i gael *Arian*, ac byth er hynny 'r wy 'n cael fy moli a'm addoli 'n fwy na Duw, a Dynion yn rhoi eu poen au perygl, eu hôll fryd, ei hoffder a'u hyder arna'i: iè, nid oes nêb yn esmwyth eisieu cael ychwaneg o'm ffafr i, a pha mwya y gaffont pella fyth oddiwrth orphwystro nes dyfod o'r diwedd tan geisio *esmwythyd*, yma i Wlad y *poeneu* tragwyddol. Pa sawl Cybydd henffel a ddenais i yma hyd lwybrau tostach nac fy 'n arwain i Deyrnas yr Happusrwydd! Os *Ffair*, os *Marchnad*, os *Sessiwn*, os *Lecsiwn*, os rhwy Ymgyfwrdd arall, pwy amlach ei ddeiliaid? pwy fwy ei allu ai awdurdod na myfi? tyngu, rhegu, ymladd, ymgyfreithio, dyfeisio a thwyllo, ymgurio, ymgribinio, lladd a lledratta, torri 'r Sul, anudoniaeth, angharedigrwydd, a pha nôd du arall, heb law 'r rhain, sy 'n marcio Dynion at gorlan *Lucifer*, nad oes gennifi law 'n ei roi? am hynny y galwyd fi, *Gwreiddyn pob drwg*. Am hynny os gwêl eich Mawrhydi 'n dda, Myfi a âf, ebr ef, ac a eisteddodd. Yna cododd *Apollyon*. Nis gwn i, ebr hwnnw, beth

beth a'u dŵg *hwy* yma ſiccrach na'r peth ach dûg chwitheu yma, ſef *Balchder*; Os ceiff hon blannu ei phawl ſŷth ynddynt a'u chwyddo nid rhaid uno 'n yr ymoſtyngant i godi 'r *groes* nac i fynd trwy 'r porth cyfyng. Myfi a âf, ebr ef, gyda 'ch Merch *Balchder*, ac a yrraf y *Cymru* tan ucheldremio ar wychder y *Saeſon*, a'r *Saeſon* tan ddynwared ſioncrwydd y *Ffrancod*, i ſyrthio yma cyn y gwypont amcan p'le bônt. Yn neſa cododd *Aſmodai* Diawl yr *anlladrwydd*, Nid anhyſpys i chwi Frenin galluoccaf y dyfnder, ebr ef, na chwitheu Dwyſogion Gwlad Anobaith, ſaint a lenwais i o gilfacheu Uffern trwy drythyllwch a maſwedd. Beth am yr amſer y cynneuais i'r ſath fflamm o drachwant yn yr holl fyd, oni orfu gyrru 'r Diluw i lanhau 'r Ddaiar oddiwrthynt, ac iw 'ſcubo hwy oll attom ni i'r Tân aniffoddadwy? Beth am *Sodoma* a *Gomorra*, dinaſoedd têg a hyfryd a loſcais i â thrythyllwch nês i gafod o Uffern ennyn yn eu trachwanteu uffernol, a'u curo hwy yma 'n fyw i loſci 'n oes oeſoedd? A pheth am fyddin fawr yr *Aſſyriaid* a laddwyd oll mewn unnos o'm achos i? *Sara* a ſiommais i am ſaith o Wŷr; a *Solomon* y doetha o Ddynion, a llawer mîl o Frenhinoedd eraill a welliais i â Merched. Am hynny, ebr ef, gollyngwch fi a'r *pechod melus* yma, ac mi a 'nynnaf y

wreichionen uffernol yno mor gyffredin hyd onid êl yn un a'r fflamm aniffodda dwy hon: Canys odid o un a ddychwel fyth oddiar fy ol i, i gymeryd gafael yn llwybreu bywyd; ar hyn fe eisteddodd. Yna cododd *Belphegor*, Pennaeth y *Diogi* ar *Seguryd*; Myfi, ebr ef, yw Twysog mawr y *Syrthni* a'r *Diogi*, mawr fy ngallu ar fyrdd o bob oed a grâdd o ddynion; myfi yw'r merllyn mudd lle mâg sil pob drygeu, lle ceula sorod pob pydredd a snafedd dinistriol. Beth a deliti, *Asmodai*, na chwithe'r Prif-Ddrygau colledig eraill hebofi sy'n cadw'r ffenestri'n agored i chwi, heb ddim gwiliadwriaeth, modd y gallochwi fynd i mewn i'r *dyn*, iw lygaid, iw glust, iw safn, ac i bôb twll arall arno pan fynnoch. Myfi a âf ac a'u treiglaf hwy oll i chwi tros y Dibyn trwy eu Cŵsc. Yna cododd *Satan* Diawl yr *Hûg*, oedd nesa i *Lucifer* ar ei law chwîth, ac wedi troi gwep hyllgrech at y Brenin, Afraid i mi, ebr ef, yspysu fy ngweithredoedd iti, Archangel colledig, nac i chwitheu Dwysogion duon y Destrw: oblegid y dyrnod cynta 'rioed ar ddyn myfi a'i tarawodd; a dyrnod nerthol ydoedd, i bara'n *farwol* o ddechreu'r byd iw ddiwedd. Ai tybed nad allwn i a anrhei-

thiais

thiais yr holl fyd, roi rwan gyngor a wasanaethei am un Ynysig fechan? ac onid allwn i a siommais *Efa* ym *Mharadwys*, orchfygu *Ann* ym *Mhrydain*? Os tâl ddim ddichell naturiol a phrawf gwastadol er's pummil o flynnyddoedd, fy nghyngor i ichwi drwsio'ch Merch *Rhagrith* i dwyllo *Prydain* a'i Brenhines; ni feddwch chwi ferch yn y bŷd mor wasanaethgar i chwi a honno: Mae *hi* 'n llettach ei hawdurdod ac yn amlach ei deiliaid na'ch holl ferched eraill. Ond trwyddi *hi* y siommais i y Ferch gyntaf? ac byth er hynny hi arhosodd ac a gynnyddodd yn ddirfawr ar y Ddaiar. Ac yr awron nid yw'r Byd oll fawr ond un *rhagrith* i gyd trosto. Acc oni bai gywreindeb *Rhagrith* pa fodd y cai'r un o honom ddim masnach mewn un cwrr o'r bŷd? O blegid pe gwelent *bechod* yn ei *liw* a than ei *henw* 'i hun, pa ddyn byth a'i cyffyrddei? byddei haws ganddo gofleidio Diawl yn ei lun ai wîsc uffernol. Oni bai ei bod *hi Rhagrith* yn medru dieithro *henw* a *natur* pob *drwg* tan rîth rhyw *ddâ*, a llysenwi pôb *daioni* â rhyw enw *drwg*, ni chyffyrddei ac ni chwenychei neb ddrwg yn y byd. Rhodiwch yr hôll Ddinas ddihenydd, cewch weled faint yw *hon* ymhôb cwrr. Dôs i

strŷd

ſtrŷd y *Balchder*, ac ymorol am *wr trahaus*, neu am geinhiogwerth o *furſendod* wedi ei gymyſcu trwy *falchder*, gwae finneu (medd Rhagrith) nid oes yno ddim o'r fâth beth; ac i Ddiawl ddim arall yn yr holl ſtryd ond yr uchder, Neu gerdd i ſtrŷd yr *Elw*, a gofyn am dŷ 'r *Cybydd*, ffei nid oes nêb o'r fâth ynddi; neu am dŷ'r *Mwrdriwr* ymŷſc y Phyſygwyr, neu am dŷ'r *carnlleidr* ymŷſc y Porthmyn, byddei cynt it gael carchar am ofyn na chael gan nêb gyfadde 'i henw. Ie mae Rhagrith yn ymluſco rhwng dyn a'i galon ei hun, ac mor gelfydd yn cuddio pôb *camwedd* tan enw a rhîth rhyw *rinwedd*, oni wnaeth *hi* i bawb agos golli eu 'dnabod arnynt eu *hunain*. *Cybydd-dod* a eilw hi *Cynnilwch*; ac yn ei hiaith *hi Llawenydd diniweid* yw *Oferwch*; *Bon'ddigeiddrwydd* yw *balchder*; gŵr *ffeſt gwrol* yw'r *traws*; *Cydymaith da* yw'r *Meddwyn*; ac nid yw *godineb* ond *ceſtyn ieuenctid*: O'r tu arall os coelir *hi* ai ſcolheigion nid yw'r *duwiol* ond *rhagrithiwr* neu *benbwl*; nid yw'r *llaryaidd* ond *llyfrgi* na'r *ſobr* ond *cerlyn*; ac felly am bôb camp arall. Gyrrwch *hon*, ebr ef, yn ei llawn-drwſiad yno, mi a wrantaf y twylla hi bawb, ac y dalla hi 'r Cynghoriaid a'r Milwyr, a'r holl Swyddogion

Gwledig

Gwledig ac Eglwyfig,ac a'u tynn hwy yma 'n finteioedd chwapp a'r *mwgwd fymmudliw* ar eu llygaid; ac ar hyn yntef a eifteddodd. Yna cododd *Belzebub* Diawl yr *anyftyriaeth*, ac â llais garwgry rhuadwy, Myfi, ebr ef, yw Twyfog mawr y *Syndod*, Myfi a pieu rhwyftro i ddyn *yftyried* a chonfidrio'i ftât. Myfi yw Pennaeth y *gwybed* taerddrwg uffernol fy 'n penfyfrdanu dynion, wrth eu cadw fyth a hefyd mewn rhyw ddwned gwaftadol ynghylch eu meddianneu neu eu plefereu, heb adel iddynt om bodd fyth funyd o *hamdden* i feddwl am eu ffyrdd na'u diwedd. Ni wiw i'r un o honoch ymgyftadlu â mi am orcheftion buddiol i Deyrnas y tywyllwch. Canys beth yw *Tobacco* ond un o'm harfeu gwaelaf i, i ddwyn *fyndod* i'r ymennydd? A pheth yw Teyrnas *Mammon*, ond cainc o'm llywodraeth fawr i? Ie pe dattodwn i y rhwymau fy gennif ar ddeiliaid *Mammon* a *Balchder*, ie ac ar ddeiliaid *Afmodai*, *Belphegor* a *Rhagrith*, nid arhoe ddyn funyd hwy tan reolaeth un o honnynt. Am hynny ebr ef, Myfi a wna'r gwaith neu na fonnied un o honochwi fyth. Yna cododd *Lucifer* fawr ei hun o'i Gadair eirias, ac wedi troi wyneb hygar (neu hagr) o'r ddeutu, Chwi brif Yfprydion Hirnos, Pennaethiaid y ddichell

ddiobaith, ebr ef; Er nad yw 'r *Fagddu fawr* a Gwylltoedd Deſtryw rwymediccach i nêb am ei thrigolion nac i'm brenhinol oruchelder fy hunan, canys myfi gynt, eiſieu gallu tynnu 'r Hollalluog o'i feddiant, a dynnais fyrddiwn o honochwi f' Angylion duon gyda 'm cynffon i'r Erchyllfa aneſcor hon; ac wedi a dynnais fyrddiwn o Ddynion attoch, i gael rhan o'r byd ſy yma. Etto nid oes wâd na wnaethoch chwithe 'ch rhann oll at gynnal a chynnyddu 'r Ymerodraeth fawr uffernol hon. Yna dechreuodd *Lucifer* eu hatteb o un i un. Ac, ebr ef, o un o godiad diweddar, ni wada'i na ddygaiſti, *Cerberus*, i ni lawer yſclyfaeth yn Ynys y Gelynion, o achos y *Tobacco*, rhwng ſy o dwyll yn ei gludo, yn ei gymyſcu, ac yn ei bwyſo, ac y mae e 'n ei ddenu i lymmeitian Cwrw, ac eraill i dyngu, rhegu a gwenieithio iw gael, eraill i ddywedyd Celwydd iw wadu, heb law 'r afiechyd ſy ynddo i amryw gyrph, a gormodedd yn niweidiol i bob corph, heb ſôn am yr *enaid*. A phe ſy well, mae myrdd o *dlodion*, na chaem ni oni bai hynny mo'u cyffwrdd, yn ſoddi yma wrth roi pwys eu ſerch ar y *Tobeccyn*, a gadel iddo 'u *meiſtroli* i dynnu 'r Bara o Safneu eu Plant. Ac yn neſa mrawd *Mammon*, mae 'ch gallu chwi mor gyffredin a hyſpys hefyd ar y Ddaiar, a'i mynd hi 'n ddihareb, *ceir pob peth am Arian*.

*Arian.* A diammeu, ebr ef, gan droi at *Apollyon*, fod f'anwyl Ferch *Balchder* yn dra buddiol i ni, canys beth ſy, nac a all ddrygu Dyn fwy yn ei ſtâd, ei gorph, ai enaid, na'r *'piniwn balch yſtyfnig* hwnnw a wnâ i Ddyn waſtraffu *canpunt* yn hytrach na phlygu i roi *Coron* am heddwch. Mai *hi* 'n eu cadw hwy mor warſyth a'u golwg mor ddyfal ar uchelbetheu oni bo digrif eu gweled, wrth dremio ac ymgyrraedd a'r Awyr, yn ſyrthio chwapp i eigion Uffern. Chwitheu *Aſmodai*, mae 'n gôf gennym oll eich gwaſanaeth mawr chwi gynt, nid oes neb lewach am gadw 'i Garcharorion tan glô, na nêb mor ddigerydd a chwi; nid oes ond chwerthin tippyn am ben *ceſtyn anllad:* Ond bu agos i ti a thrigo o newyn yno 'r blynyddoedd drudion diweddar. Ond fy Mâb *Belphegor* Pennaeth pryfedog y *Diogi*, ni wnaeth nêb i ni fwy pleſer na chwi, mawr iawn yw 'ch awdurdod ymŷſc y bon'ddigion a'r Gwrêng hefyd, hyd at y cardottyn. Ac oni bai gywreindeb fy Merch *Rhagrith* yn lliwio ac yn amwiſco, pwy fyth a lyncei un o'n bacheu ni? Ond wedi 'r cwbl oni bai ddyfal lewdid fy mrawd *Belzebub* yn cadw Dynion mewn *ſyndod anyſtyriol* ni thaleich chwi oll ddraen. Weithian, ebr ef, ail-grynhown y cwbl. Beth a deliti *Cerberus* a'th *fygyn* tramor, oni bai fod *Mammon* yn d'achleſu. Pa Farſiandwr

dwr fyth a gyrchei dy ddeiliach trwy gymmaint perygl o'r *India*, oni bai o ran *Mammon?* ac ond oi achos *ef*, pa Frenin a'i derbyniei yn enwedig i *Brydain?* A phwy ond o rann *Mammon* a'i cludei i bob cwrr o'r Deyrnas? Er hynny beth a delititheu, *Mammon* heb *Falchder* i'th waftraffu ar Dai têg, Dillad gwychion, Cyfreithieu afraid, Gerddi a Meirch pherthynafeu drudfawr, Dyfcleu aml, Bîr a Chwrw 'n genlli uwch law *gallu* a *grâdd* y perchennog; canys ped arferid Arian o fewn terfyneu *angenrhaid*, a *gweddeidd-dra cymmefurol*, pa lês a wnai *Mammon* i ni? felly ni theli ditheu ddim heb *Falchder*. Ac ychydig a dalei *Falchder* heb *Anlladrwydd*, oblegid Baftardiaid yw 'r deiliaid amla a ffyrnicca a fedd fy Merch *Balchder* yn y byd. Chwitheu, *Afmodai*, Pennaeth *Anlladrwydd*, beth a dalech oni bai *Ddiogi* a Seguryd, p'le caech letty nofwaith? nid oedd wiw i chwi ddifgwyl gan un gweithiwr na ftudiwr llafurus. Titheu *Belphegor* y Diogi, pwy gan gywilydd a gwarth a'th groefawai fyth funud oni bai *Ragrith*, fy 'n cuddio dy wrthuni tan enw *afiechyd oddimewn*, neu fod yn *bwrpafwr* da, neu tan rîth *dibrifio golud* a'r cyffelyb. Hitheu f' annwyl Ferch *Rhagrith*, beth a dâl nac a dalafei hi 'rioed, er cywreinied gwniadyddes a glewed yw, oni bai 'ch help chwi fy mrawd hynaf *Belzebub*,

Twyfog

Twyſog mawr y *Penſyfrdandod*; pe gadawei hwn lonydd a hamdden i bobl i *ddwysyſtyried* natur petheu a'u gwahaniaeth, pa dro byddeint yn ſpio tylleu yn nyblygion eurwiſc *Rhagrith*, ac yn gweled y bacheu trwy'r abwyd? Pa ŵr yn ei gô a heliei deganeu a phleſereu darfodedig, ſwrffedig, ffol a gwradwyddus, a'u dewis o flaen *heddwch Cydwybod*, a *hyfrydwch Tragywyddoldeb* ogoneddus? Pwy a ruſiei odde 'i ferthyru am ei ffydd tros awr neu ddiwrnod, neu ei gyſtuddio ddeugain neu driugain mlynedd, ped yſtyriei fod ei Gym'dogion yma 'n diodde mewn awr fwy nac all ef odde ar y Ddaiar fyth? Nid yw *Tobacco* ynteu ddim heb *Arian*, nac Arian heb *Falchder*, na Balchder ond egwan heb *Anlladrwydd*, nac Anlladrwydd ddim heb *Ddiogi*, na Diogi heb *Ragrith*, na Rhagrith heb *Anyſtyriaeth*. Weithian, ebr *Lucifer*, ac a gododd ei garneu cythreulig ar y garnwinedd, i draethu fy meddwl inneu fy hunan; Er daed y rhain oll, mae gennifi *gyfeill* fy well at yr Elynes *Prydain* na'r cwbl. Yma gwelwn yr holl brif-gythreuliaid a'u cegeu traerchyll yn egored ar *Lucifer*, i ddiſgwyl beth boſſibl a allei hwn fod, a minneu cyn rhywired genni glywed a hwytheu. *Un*, ebr *Lucifer*, y bûm i 'n rhŷ hîr heb yſtyried ei haeddiant hi, fel dithe *Satan* gynt wrth demtio *Jôb* yn troi 'r ty hagr fel ffŵl. Hon

N fy

fy Nghares yr wy'nawr yn ei hordeinio 'n Rhaglaw ar holl achoſion fy llywodraeth ddaiarol yn neſa'attaf fy hun, hi a elwir *Hawddfyd*; *Hon* a ddamniodd fwy o Ddynion na chwi i gŷd, ac ychydig a dalechwi oll hebddi *hi*. Canys mewn *Rhyfel*, neu *Berygl*, neu *Newyn*, neu *Glefyd*, pwy a briſia mewn na *Thobacco*, nac *Arian* na hoewdra *Balchder*, nac a feiddia feddwl am groeſawu nac *Anlladrwydd* na *Diogi?* ac mae Dynion yn y cyfyngoedd hynny 'n rhŷ effro i gymryd eu pendiſadu gan *Ragrith* nac *Anyſtyriaeth* chwaith: ni lefys un o'r uffernol *wybed y Syndod* ddangos ei bîg ar un o'r Stormoedd hyn. Eithr *Hawddfyd* eſmwythglyd yw'ch Mammaeth chwi oll: yn ei chyſcod tawel, ac yn ei monwes hoewal hi y megir chwi oll, a phob pryfed uffernol eraill yn y Gydwybod, a ddaw i gnoi eu perchen *yma* byth heb orphwys. Trabydder *eſmwyth*, nid oes ſôn ond am ryw ddigrifwch, gwleddoedd, bargeinion, acheu, ſtoriâu, newyddion a'r cyffelyb; ni ſonir am *Dduw* oddieithr mewn ofer lyfon a rhegfeydd, lle mae'r *tlawd* a'r *clâ*, &c. â Duw 'n ei eneu ac yn ei galon bôb munyd. Ewch chwithe 'ch ſaith ynghynffon hon, a chedwch bawb yn ei hûn ai heddwch, mewn llwyddiant ac eſmwythyd, a llawnder a diofalwch; ac yno cewch weled y tlawd goneſt yn mynd yn garl trowſ-

falch

falch anhyweth, pan gynta 'r yfo o *hudolgwppan Hawddfyd*; cewch weled y llafurwr diwyd yn troi 'n llefarwr diofal ysmala; a phôb peth arall wrth eich bodd. Oblegid *Hawddfyd* hyfryd yw cais a chariad pawb; hitheu ni chlyw gyngor, nid ofna gerydd; os da nid edwyn, os drwg hi a'i meithrin. *Hon* yw'r brif-brofedigaeth, y Dyn a ymgadwo rhag ei Swynion mwynion *hi*, gellwch daflu 'ch Cap iddo, ffarwel i ni byth am gwmnhi hwnnw. *Hawddfyd* ynteu yw fy *Rhaglaw* ddaiarol i, dilynwch *hon* i *Brydain*, ac ufuddhewch iddi, megis i'n Brenhinol Oruchelder ni 'n hunain. Ar hyn gwyntiwyd y fôllt fawr a thrawyd *Lucifer* ai Ben-cynghoriaid i Sugnedd *Uffern eitha*, ac och fyth erwined oedd weled *Cêg Annwn* yn ymagor iw derbyn. Wel', eb yr Angel, weithian ni a ddychwelwn: Ond ni welaifti etto ddim wrth y *cwbl* fydd o fewn cyffinieu *Destryw*, a phe gwelsit y cwbl, nid yw hynny etto ddim wrth fy o drueni anrhaethawl yn *Annw'n*, canys nid yw bossibl bwrw *amcan* ar y Byd fy 'n *Uffern-eitha*. A chyda'r gair, f' a'm cippiodd yr Eryr nefol fi i entrych y Fagddu felltigedig ffordd na's gwelswn, lle cês o'r Llŷs hyd holl ffurfafen y *Destryw* duboeth, a holl *Dir Ango* hyd at gaereu 'r *Ddinas ddihenydd* lawn olwg ar yr anfad anghenfil o *Gawres* y gwelswn ei thraed hi o'r blaen.

Ac nis meddai mo'r geirieu i ddadcan ei moddion hi. Ond mi fedraf ddywedyd iti mai *Cawres dri-wynebog* oedd hi, un wyneb tra ſceler at y *Nefoedd*, yn cyfarth, yn chwyrnu ac yn chwydu ffieidd-dra melltigedig tu ac at y Brenhin nefol, wyneb arall têg tu a'r *Ddaiar*, i ddenu Dynion i aros yn ei chyſcod, a'r wyneb anaelef arall at *Annwn* iw poeni byth bythoedd. Mae hi 'n fwy na'r Ddaiar oll, ac yn cynnyddu etto beunydd, ac yn gan erchyllach na holl Uffern; Hi a barodd wneud Uffern, ac ſy 'n ei llenwi hi â thrigolion. Pe ceid *hon* o Uffern ſ' ai Annwn yn Baradwys: A phe ceid hi o'r Ddaiar, fe a'i 'r Byd bâch yn Nêf; a phe cai hitheu ſynd i'r Nef, hi a droe 'r Gwynfyd yn Uffern eitha. Nid oes dim yn y bydoedd oll (ond *hon*) nad Duw a'i gwnaeth. Hon yw Mamm y pedair Hudoles ddihenydd, hon yw Mamm *Angeu*, a hon yw Mamm pob *drygioni* a *thrueni*; a chanddi gràp ofnadwy ar bob Dyn byw. Hi a elwir PECHOD. *Y ſawl a ddiango o'i bacheu hi gwyn ei ſyd ſyth*, eb yr Angel. Ar hyn fe ymadawodd, a chlywn ei adlais e'n dywedyd, '*Scriſenna 'r hyn a welaiſt, a'r ſawl ai darllenno 'n yſtyriol, ni ſydd byth edifar ganddo.*

*Ar*

## *Ar y Dôn a elwir* Heavy-Heart, *neu* Trom-Galon.

I.

TRom *yw'r* Galon *tramwy'r* Gwaelod,
*A gweled peth o Fro 'r* Erchylldod,
*Gweled* Diawliaid *a* Chollddynion
*Yn eu cartre tra echryslon* ;
*Gweled diwedd Llwybreu gwyrgam*,
*Llynn echrysfflam*,
*Twll diadlam*
*ddryglam ddreigle* :
*Yr ail olwg si ni fynnwn*
*Er bydoedd fyrddiwn*,
*Er nad oeddwn*
*yn eu diodde.*

2.

Trom *yw'r* Galon *tra mae 'r golwg*
*Etto yn fy nghô mor amlwg*,
*Gweled lluoedd o'm cydnabod*
*Yn soddi yno chwapp* heb wybod ;

*Ddoe yn* Ddyn *a heddyw 'n* fallgi,
*Yn pryſur* ddenu
*Bawb i 'n ynnu*
*bob yn enaid:*
*Ac wedi mynd yn ddiawl uffernlith,*
O'*r un hyllrith*
*Ac athrylith*
*a'r Cythreuliaid.*

3.

Trom *yw 'r* Galon *tremio'r* Gwely
*Lle'r eir o ddàl i wirfodd bechu;*
*Pa ddirmyg fyth a gwarth yſcethrin,*
*Sy yno ar Fonedd a chyffredin!*
*Dadcan hylldod y* coll-benneu,
*Neu un o'r* poeneu
*Dir eu godde*
*yn dragwyddawl,*
*Nis medra i, ni choelit titheu,*
*Ni cheir geirieu,*
*Mae'r* Lle *a'r* Rhithieu
*yn anrhaethawl.*

4.

Trom *yw 'r* Galon *trwm y gwelir*
*Golli* Câr *neu Gyfaill cywir;*
Colli *Da, neu* Dîr, *neu* Rydd dyd,
*Neu golli 'r* Geirda, *och neu* Iechyd;

*Colli*

*Colli* Llonydd *a* Diofalwch,
*Neu golli* Heddwch,
*A phob* dyfrrwch
*Daiar farwol*;
*Colli* Cô *neu* Râs *tros encyd*
*Sy Drymder embyd*,
*Yn fwrn ennyd*
*fawr anianol.*

5.

Trom *yw'r* Galon ( *tramawr golyn* ! )
*A fo'n dechre 'mwrando â dychryn*,
*Ac â baich ei gorthrwm* bechod
*Gan daer-ofidus geisio cymmod* ;
*Cael blâs oer ar bôb plesereu*,
*Gan ddolurieu*
Tyst y brycheu,
*tôst brawychus*,
Cydwybod *glâ mewn gwewyr escawr*
*Ar ddyn* newyddfawr
*I lwyr ddinistriaw'r*
henddyn *astrus.*

6.

Trom *yw' r* Galon *wraidd oreu*
*Pan fo ar ei* Gwely-Angeu ;
*Tan arteithieu corph ac yspryd*
*Rhwng y* Fuchedd *a'r* Afiechyd ;

Dirfawr

Dirfawr ing, ac ofni chwaneg,
*Byth heb attreg,*
*Trom yw'r adeg*
*tramawr Odfa!*
*Teimlo eitha'r* Bydan *budol*;
*A'r Byd* tragwyddol,
*Mawr* dieithrol
*ar y wartha.*

7.

Trom *yw'r* Galon *tan un gowled,*
*O'r hôll Drymdereu hyn a henwed;*
*Ond pettynt oll yn un Torr-gwmmwl,*
*Mae etto* Drymder *mwy na'r cwbwl:*
*Mae gobaith escor pob Trymdereu*
*Tu yma i'r* Caereu,
*A'r naill tu i* Angeu
*hôllt diangol:*
*Ond un* Trymder *tu'wnt ir* Amdo,
*Gwae a'i caffo!*
*Nis ceir obeithio*
*escor bythol.*

8.

Trom *yw'r* Galon *dônn êl dano*;
*(Och drymmed genni gip o'i atco!)*
Yscafnderau *dylid alw*
*Pob trynderau oll wrth hwnnw:*

*Y* Trym-

*Y* Trymder *hwn di-ſwn yſywaeth*
*Yw* Damnedigaeth
*At Lu diffaeth*
*i Wlâd Uffern,*
*Pan wêl Dyn ddarfod fyth am dano,*
*Ac euſys* yno
*Yn drwg-ieithio*
*gyda'r Gethern.*

9.

*Na chwyna dithe 'r dim a'th flino*
*Oſwyt heb fynd i Uffern etto,*
*Etto dyro drô 'n dy* feddwl
*Yno 'n fynych ac yn fanwl:*
*Dwys yſtyrio 'r* Pwll *echryſlym,*
*Ar* Byth *ſy nghenglyn,*
*A'th dry 'n ſydyn* ;
*dan arſwydo* ;
*Mynych goſio 'r* Fagddu danbaid,
*Trwy* G R I S T *unblaid*
*A geidw d'* Enaid
*rhag mynd* yno. *Amen.*

---

Diwedd y Rhann Gyntaf.

# NODIADAU.

D.S.—Gweler rhestr o'r talfyriadau ar ddiwedd y llyfr.

D.S.—Pan grybwyllir c.a. (camargraffiadau) yn y Nodiadau hyn, dealler mai camargraffiadau yn yr arg. gwreiddiol a feddylir.

*Td.* *ll.*

Teitl 1. GWELEDIGAETHEU. Yn y canol oesoedd ***eu*** a safai bob amser am y sain diweddar ***au***, megis ***heul***, ***petheu*** am ***haul***, ***pethau***. Yn llyfrau'r unfed ganrif ar bymtheg, megys *Gramadeg* Dr. Gr. Roberts, 1567, Beibl Dr. Morgan, 1588, ysgrifennid ***au*** fel yn awr. Er hyn, parhaodd ***eu*** i ymddangos yn awr ac eilwaith am amser maith, a cheir amryw engreifftiau o hono yn y Bardd Cwsg, megys yma. Gweler hefyd ***petheu***, td. 5, ***wynebeu***, td. 7, ***aelodeu***, td. 10, ***briwieu***, td. 12, &c.

— 3. *Bardd Cwsc*, "*sleeping bard.*" Cystrawen gyffredin yn Gymraeg yw rhoi gwreiddair syml, heb derfyniad, i sefyll fel ansoddair neu rangymeriad. ***Bara pryn***, bara prynedig; ***helyg plan*** (Edm. Prys, Salm 137) helyg wedi eu plannu; ***creiglethr crog*** (Gro. Owen, *C. y Farn*) llethr crogedig, neu lethr yn crogi; ***marwor llosg***, marwor yn llosgi. Felly yma, ***Bardd Cwsg***, bardd yn cysgu. Dengys safle'r fannod nad "*bard of sleep*" a olygir.

Yr un gystrawen a geir, td. 117 ***splentydd dibyn***, ysblentydd yn dibynnu, sblentydd crogedig.

— 5. RHANN GYNTAF. Ar ddiwedd y llyfr hefyd ceir "Diwedd y Rhann Gyntaf." Dengys hyn fod yr awdwr yn bwriadu parhau'r gwaith. Gweler y Rhagymadrodd.

3. 10. ***fflamffiedd***, fflam ffiaidd, mae'n debyg, a olygir.

*Td.* *ll.*

5\. 6. helpu 'n golwg. Newidiwyd hwn i "helpu 'm golwg" yn yr argraffiadau eraill; ond y tebyg yw mai "helpu 'ngolwg" a ysgrifennodd Elis Wyn, ac mai yn y gosodiad nid yn y llythyren y mae'r camargraff.

19\. welseint, h.y., welsent; eint oedd y terfyniad yn y canol oesoedd, ac ysgrifennir *ei* yr oesoedd hynny yn *ai* yn awr (fel yr ysgrifennir *eu* yn *au*. Gweler uchod.) Ond ceidw Elis Wyn yn aml yr hen sillebiaeth yn gystal a'r hen ffurf. Am y ffurf cymharer a ganlyn:

Nest wengoeth winddoeth wenddaint—ac Ifor,
A mwy na rhagor y'm *anrhegaint.*
*D. ap Gwilym*, xiii.

20\. wrthifi. Ysgrifennid *wrthif*, *gennif*, yn gyson o'r unfed ganrif ar bymtheg hyd y ddeunawfed am *wrthyf*, *gennyf*. Gweler *Llyfr Job* Dr. Morgan, *Llyfr y Tri Aderyn*, &c. Effaith yr *i* yn y rhagenw yn teneuo swn yr *y* ydyw hyn; megis yr ysgrifennid *llinin* am *llinyn* hyd yn oed yn y 14eg ganrif. (Mab. td. 56.) Unid y rhagenw â'r ferf neu'r arddodiad hefyd o'r amseroedd cynaraf.

Ac o bai raid, cai heb rif
Deganau a da gennif.
*Dewi Wyn*, *Bl. Arf.*, td. 249.

6\. 1. wedi. Arferid *wedi* yn aml gynt fel rhagferf, lle y dywedir yn awr wedyn. Gweler td. 21, llinellau 10, 22; &c.

10\. welwm. C.a. amlwg am welwn.

11\. gâd-gamlan; tyrfa anhrefnus. Yn wreiddiol Cad Gamlan oedd y frwydr chwedlonol a fu rhwng Arthur a Medrod ar lan afon Camlan. Dyma fel y dywed y *Brut* am dani (td. 232), "A chymeint fu yr aerfa yna o bob parth . . . megys ydd oedd blin a llafuryus i yscrifenu nae ddatcanu. Canys o bob parth y brethynt ac y brethid wynteu; wynt a leddynt ac wynteu a leddid."

*Td.* *ll.*

7. 14. wrthi; yn lle *wrthif* o herwydd yr *f* ddilynol. Cymharer *wy* am *wyf* td. 8. ll. 18.

19. Caer. Caerlleon Gawr, sef *Chester.*

27. *Lynn*, c.a. am *Llynn.*

8. 29. dy wallco. Dy wallgofrwydd. Ymddengys fod *gwallgof* yn *enw* gynt, megys *gwall cof.* Cymharer td. 12, ll. 25.

9. 8. i wared. Ceir y sillebiaeth hon yn fynych wedi'r unfed ganrif ar bymtheg; ond *i waered* oedd yr hen ddull.

27. odre. *Godre*, *godreon* ydyw'r hen ffurf, ac y mae'r sillebiad *godrau* mor anghywir a phe sillebid *cyfle* yn *cyflau.* Er hyn ceir *godreuon* gan y Bardd Cwsg, td. 86, ll. 27.

10. 19. *Lewis o Fraine.* Louis xiv. a deyrnasai y pryd hwnnw. Esgynnodd i'r orseddfainc pan nad oedd ond prin bum mlwydd oed, ac wedi teyrnasu am 72 o flynyddoedd bu farw yn 1715. Teyrn rhwysgfawr ac unbenaethol oedd; gelwid ef *le Grand Monarque.* Efe oedd y gwr a lefarodd y frawddeg enwog *L'état c'est moi*, "Myfi yw'r wladwriaeth." Cashâi ac erlidiai'r protestaniaid, am na thybiai eu bod yn ddigon ufuddion i'w awdurdod.

22. diwydrydd, c.a. am diwydrwydd.

11. 3. Twosog, c.a. am Twysog.

9. ar glwyfo; bron â chlwyfo. Buasai'r ystyr yn amlycach petai'r awdwr wedi rhoi'r gofynnod ar ol y gair posibl.

19. bythodd, c.a. am bythoedd y lliosog o *byth.*

12. 2. atlygaf. Tebyg nad c.a. yw. Cymharer *cyn'lleidfa* td. 6.

13. 21. can haws, h.y. ganwaith haws.

14. 3. deu-ty; can-sillebiad am deu-tu.

18. Tebyg mai ar ddiwedd y gair munudie ac nid ar ddechreu'r gair ac y bwriadwyd i'r ' fod.

15. 22. cyrfyddei; llygriad o cyfarfyddei.

26. he; c.a. am hel.

16. 3. ar saith fryn. Safai dinas hynafol Rhufain ar saith fryn, sef ar dde a dwyrain y

*Td. ll.*

Capitolinus, ac hyd fryniau Palatinus, Aventinus, Caelius, Esquilinus, Viminalis a Quirinalis. Ond nid yw'r hen enw "dinas ar saith fryn" yn gymwys bellach ers canrifoedd. Saif y ddinas ddiweddar gan mwyaf o'r gogledd i'r Capitol.

16. 4. y *Goron driphlyg* a'r *Cleddyfeu* a'r *Goriadeu* 'n groesion. Y goron driphlyg ydyw *tiara* neu benwisg y pab. Math o gap uchel o frethyn aur ydyw, a thair coron yn ei amgylchu, y naill uwchben y llall. Y mae ei hanes yn dywyll. Meitr cyffredin oedd mae'n debyg ar y cychwyn, a dywedir mai Nicolas i. tua 860 a roddes y goron gyntaf arno fel arwydd o'r gallu tymhorol. Tybir mai Boniface viii. tua 1300 a chwanegodd yr ail, ac Urban v. tua 1365 y drydedd. Gwelir y syniad diweddar am arwyddocad y tair coron wrth y geiriau a arferir pan goronir y pab,—"Derbyn y tiara ag addurn y tair coron, a gwybydd mai tydi yw Tad brenhinoedd a thywysogion, Llywodraethwr y byd, a Vicar ein Hiachawdwr Iesu Grist." Wrth yr agoriadau y golygir y prif allu eglwysig, a elwir gallu'r agoriadau, a roddwyd gan Grist i Bedr (meddir ar sail Matt. xvi. 19,) ac a drosglwyddwyd i'w olyniaid. Wrth y cleddyfau y meddylir y gallu tymhorol. Pais arfau'r pab yw dau agoriad yn groesion, a chleddyf unionsyth ar eu traws.

11. *hanner lleuad.* Yr arwydd ar faner Twrci. Hen arwydd Caer Cystennyn yw; a mabwysiadwyd ef gan y Tyrciaid pan orchfygasant y ddinas honno yn y flwyddyn 1453. Pan ddaeth Phillip o Facedon, tad Alexander Fawr, yn y fl. 340 cyn Crist, â byddin liw nos i ymosod yn ddirgel ar dref Byzantium, lle saif Caer Cystennyn yn awr, fe ddatguddiwyd y perygl i'r trefwyr gan oleu'r lleuad newydd; ac wedi hynny cymerasant ei llun yn arwydd i'w tref.

*Td.* *ll.*

16. 15. *tair Flour-de-lis.* Gweler yn yr Eirfa. Tair *fleur-de-lis* aur ar faes *glas* ydyw baner frenhinol Ffrainc. Nid yw dechreuad yr arwydd yn hysbys, na pha un ai blodeuyn y lili mewn gwirionedd, ai blaen rhyw erfyn (canys ymdebyga i hynny) oedd ar y cychwyn.

16. 19. "Y mae Dr. *Puw* yn ei ddyfyniad o'r lle hwn yn darllen 'llawer achaws *twyll,*' ac yn ei gyfieithu yn unol â hyny; ond nid oes neb o'r argraffiadau yn cyfreithloni'r fath ddarlleniad. Peth rhy gyffredin gan y Doethor oedd cyfnewid gwaith awdwyr y dyfynai o honynt."—*Silvan Evans.*

17. 5. heb waetha i; er gwaethaf, *in spite of;* td. 88, ll. 25; td. 110, ll. 2, 15.

6. *Iddewon.* Wm. Salesbury oedd y cyntaf i roi *u* yn y gair hwn yn Gymraeg; ond ni ddilynwyd mo hono gan neb tan tua chanol y ganrif o'r blaen. Ysgrifenna Dr. Morgan, Edward James, Dr. Parry, Morgan Llwyd, Charles Edwards, Elis Wyn, oll *Iddew* yn ol dull cyson y canol oesoedd.

18. 15. cywyddeu. Mawl boneddigion, a chroniclau cynghaneddol o'u hachau oedd naw cywydd o bob deg yr adeg hon, ac am rai oesau cyn hyn.

18. Meistred, h.y. meistriaid. Gweler hefyd td. 20, ll. 16.

21. 12. a. C.a. am ar, mae'n sicr.

25. chwi. C.a. eto am chwil, Saes. *quill.*

22. 14. yn gwasanaeth. Golygir i'r *n* a'r *g* fynd gyda'u gilydd *yngwasanaeth.* Ni wyddai Elis Wyn yn iawn pa fodd i sillebu'r cyfuniad hwn, ac weithia fe ysgrifenna *yn ng* fel y gwneir yn gyffredin heddyw ar ol Dr. Pughe. Gweler y Rhagymadrodd.

23. 13. gwelâu; cynhaniad cyffredin y gair yng Ngwynedd yw hwn, neu yn hytrach gw'lâu. Y mae *y* yn niwedd gair weithiau yn newid ag â, megys *eira, eiry;* felly *gwely, gwela, gwela-au, gwelâu.*

*Td.* *ll.*

23. 13. ymdrobaeddu, am *ymdrybaeddu* o *ym,-try-*, a *baeddu*.

18. cyfry yn lle *cyfri* am *cyfrif*. Nid yw'n hawdd egluro'r sillebiad hwn.

18. arhoent. Yn y canol oesoedd ni roddid yr *s* yn y gair hwn ond yn unig yn yr enw berfol *aros*. Ni ddywedid *arhosaf* ond *arhoaf*, nac *erys* ond *ery*.

> A gwaew hir gwae a'i hery,
> O'i ffordd gwyn ei fyd a ffy.
>
> *Hywel Swrdwal.*

Felly hefyd y dywedid *arhowch*, nid *arhoswch*, ac y dywedir hyd heddyw *ymarho-us* nid *ymarhosus*. Cymharer td. 102, ll. 14. Er hyn ceir yr *s* weithiau gan Elis Wyn; td. 134, ll. 27.

24. 15. uwchbed, c.a. am uwchben.

25. 16. erbyn, c.a., mae'n debyg, am erfyn.

31. 27. rai *Mudion*, h.y., Crynwyr, *Quakers*.

32. 3. pe, h.y., peth.

10. *Alcoran*, sef y Coran, Beibl y Mahometaniaid. Datguddiwyd ei gynnwys i Fahomet, ac ysgrifennwyd ef o'i enau gan ei ddilynwyr, ar ddail a chrwyn, gan nas gallai'r proffwyd ei hun ysgrifennu.

33. 16. ollyngdon, c.a. am ollyngdod.

34. 14. welswm, c.a. am welswn. Cymharer td. 6, ll. 10.

28. ef'r, c.a. am ef i'r.

35. 11. rhain,—yr ymneilltuwyr neu'r puritaniaid a olygir.

36. 31. Roundiad, Piwritan. *Roundheads*, neu bengrymiaid oedd lysenw a roddwyd i'r Piwritaniaid yn ystod Rhyfel Gartrefol 1642, am eu bod yn torri eu gwallt yn fyr yn lle'i adael i ddisgyn ar eu hysgwyddau fel y *Cavaliers*.

38. 2. berheu, c.a. am betheu.

21, 22. dyleferydd, dyddirnad. Yn y can. oes. arferid yn wastad uno geiriau bychain di-acen fel fy, dy, &c., a'r geiriau a'u canlynai.

39. 9. *aeth*, c.a. am *a'th*.

*Td.* *ll.*

40. 29. fynnent. Y mae'n amlwg fod *ni* wedi ei adael allan o ddechreu'r llinell hon.

41. 25. gwel ei, c.a. am gwelei.

42. 2. yn rhodd, cyfarchiad cyfartal i "os gwelwch yn dda."

25. holl, c.a. am hôl.

43. 8. orufynu, yn fwy cywir orifyny.

44. 6. *Mogul.* Yr enw cyffredin ar frenin y deyrnas a sefydlwyd yn Hindustan gan y *Mongoliaid* dan Baber yn 1525, a Delhi yn brif ddinas iddi. Y Mogul diweddaf â gallu brenhinol oedd Shah Alum a fu farw yn 1806. Ond parhaodd y teitl dan awdurdod Prydain hyd nes ymunodd y Mogul olaf, Mohammed Bahadûr, â'r gwrthryfelwyr yn 1857. Bu farw mewn caethiwed yn 1862.

46. 30. Portholwyth, c.a. am Porthor lwyth.

48. 14. *Moscoviaid*, hen enw ar y Rwsiaid.

52. 16. *deni*, c.a. am *d' eni*, h.y. *dy eni.*

55. 29. a Fonydd, c.a. am Afonydd.

56. 4. o fiach, c.a. am afiach.

58. 16. a'i a fu, c.a. am a'i afu.

31. teyrnwaiail, c.a. am teyrnwiail.

60. 25. a neb, c.a. am ar neb.

31. *Merddyn*, y bardd a'r dewin *Myrddin.*

61. 16. *Mi fyddaf*, &c. Llinellau o gerdd gymharol ddiweddar a briodolir i Daliesin. Gweler yr Eirfa, d.g. Difregwawd.

63. 29. yn galw, h.y., 'y ngalw, sef, fy ngalw.

65. 28. c.a. yw'r diweddnod ar ol Brenin.

66. Buasai'r synwyr yn eglurach pe rhoisai'r argraffydd gomma ar ol "yno" yn ll. 1, ac ar ol "ofnadwy" yn ll. 9.

31. 'riod, c.a. am 'rioed.

69. 8. yn iach, h.y. ffarwel.

70. 7. a y, c.a. am at y, neu ar y.

72. 11. hwyn, c.a. am hwynt.

12. noi, c.a. am nol.

73. 1. gledi, h.y. galedi, *hardship.*

11. un o'n, h.y. unon. Gweler yr Eirfa.

74. 9, 10. *Er blwyddyn adnewyddiad fy Nheyrnas*, 1670. Adnewyddiad teyrnas Angeu ar

*Td.* *ll.*

ol ei orchfygu drwy adgyfodiad Crist. Ychwaneger oed Crist pan groeshoeliwyd ef at y ffigyr uchod fe geir y flwyddyn yr ysgrifennwyd y llyfr, sef 1702 neu 1703.

17. *Medleiwir*, c.a. am *Medleiwr*.

75. 4. o'ch, h.y. och! Seinid yr ô yn hir gynt, fel y dengys odlau'r hen feirdd yn fynych:

Och! och! y Ddol Goch wedi gwyl.
*D. ap Gwilym*, ccxxxii.

20. 'n rhodd. Gweler nodyn ar td. 42, ll. 2.

76. 11. Yn, c.a. mae'n debyg am Yna.

77. 1. o nid, c.a. am onid.

3, 7. *Mae'l;* yn yr argraffiadau diweddar, Mal; dyry Silvan Evans Mael, ond nid yw'n ei esbonio. Gall mai Mae fel? a olygid, h.y. *pa fodd?* Ond y mae diffyg gofynnod yn erbyn y dyb hon, canys fe geir y nod lle mae cwestiwn diamheuol yn y gerdd. Gweler td. 80. Fe allai wedi'r cyfan mai *Mal* yn syml a feddylid.

81. 2. *ſtrip*, c.a. am *strip*.

12. *dy*, gwall Elis Wyn am *du*, sef ochr. Gweler y nodyn ar td. 127, ll. 17.

83. 12. *Ymarfer Duwioldeb*. Cyfieithiad Rowland Fychan, Caer Gai, a ymddanghosodd gyntaf yn 1630, o'r *Practice of Piety*, gan Dr. Lewis Bayley, Esgob Bangor. Argraffwyd y cyfieithiad amryw weithiau, a dywed Silvan Evans i agos i gant o argraffiadau ymddangos yn Saesneg.

85. 26. *Gaer gwydion*, y llwybr Llaethog neu'r Galaeth, *the Galaxy, the Milky Way*. Enwir cydser arall yn Gaer Arianrod, ac un arall, Llys Don. Yn ol y Mabinogion, dewin oedd Gwydion ap Dôn, ei chwaer oedd Arianrod (h.y. rhod arian), a mab iddi oedd Llew, (camgymeriad am Lleu, goleu.) Y mae'n amlwg fod y traddodiadau am y bodau hyn yn tarddu ar y dechreu o hen chwedloniaeth baganaidd am y goleuadau nefol, er y cysylltir hwynt yn y Mabinogion ag Arfon. Dywedir fod Caer Aranrod ger Aber

*Td.* *ll.*

Menai, ac y mae enw Lleu hyd heddyw ar Nantlle(u) a Dinas Dinlle(u). Tybia'r Prifathro Rhys yn ei *Hibbert Lectures* fod Gwydion yr un a'r duw Teutonaidd *Woden*, (*Woden's day*, dydd Mercher.) Yn y trioedd diweddaraf (*Myv.* iii. gyfres, 89) gwneir Gwydion yr seryddwr.

27. *Twr-tewdws*, y Pleiades (Job xxxviii. 31) y Saith Seren. Ffurf gymharol ddiweddar ar yr enw Theodosius ydyw Tewdws; Twrr Tewdws, *the Cluster of Theodosius.* Yr oedd hen seryddwr o'r enw Theodosius o Tripolis yn byw yn y ganrif gyntaf cyn Crist; cyfieithwyd ei lyfr Σφαιρικά i'r Lladin yn y ddegfed ganrif a chyhoeddwyd ef yn 1518 a 1529. Ond ai efe yw'r Tewdws yma nis gwn.

86. 12. *Wlâd tragwyddol.* Tuedda dwy *d* i galedu i *t*, yn ol yr egwyddor a bair i ddwy *d* ateb i *t* mewn cynghanedd. Ysgrifenna Elis Wyn yn ol y sain. Cymharer *hyd Teyrnasoedd*, td. 107, ll. 22.

88. 21. gae, c.a. am gael.

22. gaddawodd, c.a. am gadawodd.

89. 12. cloch, c.a. am eloch.

13. Gwrthysig, c.a. am Gwrthnysig; gweler td. 96, ll. 6.

92. 10. *pan bella gwaetha 'r gwerth*, yn hytrach "Po bellaf gwaethaf y gwerth." Guto'r Glyn yw awdwr y llinell.

93. 26. gwergam, c.a. am gwargam.

94. 14. cwch c.a. am ewch.

99. 9. *Tarquin* yr ail, brenin olaf Rhufain. Lladdodd ei dad ynghyfraith, y brenin Tullius, er mwyn esgyn i'r orseddfainc yn 534 cyn Crist; teyrnasodd trwy orthrwm hyd 509, pan ei halltudiwyd o Rufain, ac y sefydlwyd y weriniaeth. Bu farw tua 495, yn 90 mlwydd oed.

*Nero*, ymherawdr Rhufain o 54 hyd 68 oed Crist. Lladdodd fab yr ymherawdr o'i flaen, lladdodd ei fam er mwyn ei ordderch, ysgarodd a'i wraig i briodi honno, a lladdodd y ddwy. Cyf-

*Td.* *ll.*

lawnodd yn gyhoeddus ffieidd-dra rhy anfad i'w enwi; poenydiodd y Cristionogion, a chanai ei grwth pan losgai Rhufain, wedi iddo ef ei hun, fel y tybid, ei rhoi ar dân. Pan luniodd Galba ei frâd, er dianc cyfiawn gosb, lladdodd ei hun yn y flwyddyn 68, yn 32ain oed.

99. 10. *Caligula*, ymherawdr Rhufain o 37 hyd 41 oed Crist. Adyn arall anniwair a chreulon. Mynnai wneud ei hun yn dduw, ac adeiladodd deml iddo'i hun; ei hoff waith oedd rhoi gwyr a gwragedd yn fwyd i fwystfilod rheibus; a dymunai na bai gan y Rhufeiniaid oll ond un pen er mwyn cael o hono ef y gwaith hyfryd o'i dorri. Lladdwyd ef gan filwr yn 29ain oed;—"Nid hir y ceidw'r diawl ei was." Dywedir mai gwallgof oedd y ddau hyn, Caligula a Nero; a mwy dymunol credu hynny, na meddwl y gall un perchen rheswm fod yn ellyll mor ddieflig.

16. mingrynny, yn hytrach, mingrynnu. Camgymeryd *u* am *y*. Gweler td. 103, ll. 17, a chymharer ll. 16 ar yr un td.

100. 1. *Rowndiad;* gweler y nodyn ar dud. 36, ll. 31.

29. llawer, c.a. am lawer.

*Llynn-Tegid*, Llyn y Bala.

101. 12. Tygaswn, am Tebygaswn. Gweler yr Eirfa, d.g. *tygaswn*.

102. 14. Arhowch. Gweler y nodyn ar *arhoent* td. 23, ll. 18.

103. 6. *ledra*, c.a. am *ledrad* neu'n fwy tebyg *ledratta;* gwall a achosid drwy i'r cysodydd neidio o un *a* i'r llall. Darllenna Silvan Evans *ledrad.*

106. 31. wnaeth, c.a. am waeth.

107. 9. amniaid, c.a. am amnaid.

28. Gwyr, c.a. neu yn hytrach wallysgrif yr awdwr am Gwir.

109. 1. gwneud i foes. Anghofiodd Elis Wyn ysgrifennu *ei* yma am y Saesneg *his*, ac ysgrifennodd *i* fel yr ysgrifennid ef gynt, ac fel y dylid ei ysgrifennu. Wm. Salesbury a ddechreuodd ei sillebu'n *ei* oher-

*Td.* *ll.*

wydd mai *eius* yw'r gair cyfatebol yn Lladin. Ar waelod yr un tudalen y mae Elis Wyn drachefn yn sillebu'r gair yn *i*; —a chyn i fynd e.

110. 23. tenwch. Y ffurf reolaidd o *tanu*; nid oes angen ei droi'n *taenwch* fel y gwneir gan Silvan Evans. Dyblir yr *n* yn gyffredin yn y gair *tannu*. Cymharer Llad. *tendo.*

112. 5. *Nero.* Gweler y nodyn ar dud. 99, ll. 9.

*Bradshaw*, llywydd y llys a brofodd Siarl I. ac a'i condemniodd i farwolaeth. Gweler td. 121, ll. 12. Ganwyd John Bradshaw yn Sir Gaerlleon yn 1586; gwnaed ef yn Brif Ustus Caer yn 1647. Er bod yn bennaeth condemnwyr Siarl, gwrthwynebodd Oliver Cromwell pan gymerodd ef y llywodraeth, a chynllun-iodd frad yn erbyn Oliver, er bod yn aelod o'i Senedd. Bu farw Tach. 22, 1659. Claddwyd ef â rhwysg mawr yn Westminster Abbey, ond codwyd ei gorff ar adferiad y frenhiniaeth i'w hongian ar grocpren gyda chyrff Cromwell ac Ireton. Erbyn hyn y mae cymeriad Siarl yn ddigon hysbys; ond i'r sawl a'i hystyriai'n ferthyr, wrth gwrs yr oedd Bradshaw yn brif lofrudd i'w restru gyda Chain a Nero.

*Boner.* Edmund Bonner oedd esgob Llundain yn amser Harri'r VIII. Yr oedd yn selog fel diwygiwr eglwysig, ond pan fu Harri farw, nis gallai gyd-fyned yn llwyr a'r diwygiad trwyadl brotestanaidd dan Edward y VI.; a chollodd ei esgobaeth. Adferwyd ef iddi drachefn gan Fari, a llosgwyd 125 o bobl yn ei esgobaeth ef dan ei theyrnas-iad. Ond cam mawr â Bonner yw ei gyhuddo ef o'r anfadwaith; yn erbyn ei gyngor ef y cymerodd Mari y cwrs a barodd iddi gael ei chyfenwi'n Waedlyd; ac yr oedd Bonner mor anewyllysgar i ddienyddio'r trueiniaid hyn nes i'r Cyfrin Gyngor ei geryddu am ei lacrwydd.

*Td.* *ll.*

*Ignatius.* Ganwyd Don Inigo Lopez de Recalde yn 149, yng Nghastell Loyola, yn Guipuscoa, Spaen; gelwid ef yn gyffredin Ignatius Loyola. Milwr oedd efe yn ei ieuenctid; dyn anllad, didoriad; ond wrth amddiffyn Pampeluna yn erbyn y Ffrancwyr, maluriwyd ei goesau gan ergyd canon,—"gadael ei ben—saethu ei goesau'n unig, felly y mynnai ffawd," medd Carlyle. Yn ei gystudd edifarhaodd a throdd yn grefyddol iawn; sefydlodd y Gymdeithas a elwir Cymdeithas yr Iesu, neu y Jesuitiaid, i wrthsefyll "heresïau," sef protestaniaeth, ac anfon cenhadon at y digred. Diau mai fel cynrychiolydd yr erlidwyr pabaidd y gesyd Elis Wyn Ignatius ymysg y llofruddion.

114\. 12. edrych, c.a. am edrychwch.

19\. *Demigorgon.* Yn gywir *Demogorgon*, un o dduwiau diweddar y Groegiaid. O'r Gr. δαίμων ysbryd, a γοργός, dychrynllyd, erchyll. Yr oedd hyd yn oed ei enw yn arswyd. Cymh. Milton P.L. ii. 965.

115\. 8. Pâp *Leo.* Yr oedd un ar ddeg o babau o'r enw hwn wedi bod cyn amser Elis Wyn. Tebyg mai at y degfed y cyfeirir yma, Giovanni de' Medici wrth ei enw priodol. Hwn oedd y pab a enynnodd lid Luther trwy werthu maddeuant pechodau.

14\. eu *Llg* a'u *Cofenant.* Cyfamod oedd y *Solemn League and Covenant* rhwng Lloegr a'r Alban, a'i amcan i ddwyn unffurfiaeth grefyddol yn y ddwywlad, a sefydlu Presbyteriaeth yn Lloegr fel yn yr Alban. Ysgrifennwyd y Cyfamod gan y Parch. Alexander Henderson; derbyniwyd ef gan Gymanfa Gyffredinol yr Alban Awst 17, 1643, a chan Senedd Lloegr a Chymanfa Difinyddion Westminster Medi 25. Digwyddasai'r pethau hyn yn oes rhai oedd yn fyw yn amser Elis Wyn.

28\. y derfysg. Lled chwithig i'm clust i yw'r

*Td.* *ll.*

ymadrodd. Y mae terfysg fel rheol yn wrywaidd.

115. 28. dechruodd, c.a. neu wall ysgrif yr awdwr am dechreuodd.

29. Pâp *Clement.* Clement yr XI. oedd yn bab y pryd hyn, sef o Dachwedd 1700 hyd Fawrth, 1720. Os dadleuir nas gallai'r Bardd Cwsg eto ganfod y Clement hwn tu hwnt i'r llen, gallwn dybied mai Clement y VII. a olygir—y gwr oedd bab yn amser Harri'r VIII., pan ddadgysylltwyd Eglwys Loegr oddiwrth Eglwys Rufain.

119. 8. âg e. Tybia Silvan Evans fod *ewch* wedi ei adael allan yma—"ewch ag e;" onid tebycach fuasai *ymaith*—"ymaith ag e?" Er hyn gall ysgrifennydd weithiau doli ei ymadrodd er mwyn grymusder; ac y mae "ag e" yn ddigon dealladwy am "ymaith ag e."

14. ond rhaid i trâd fyw? Y gofynnod sydd gywir, nid y gorffwysnod fel yn rhai o'r argraffiadau, yn eu mysg yr eiddo Silvan Evans. Cwestiwn sydd yma; ond = onid; onid rhaid i trad fyw?

120. 23. fel gynt ar nôs Iau. Gynt = ar y ddaear. Gellir casglu fod yn ffynnu ar y pryd ryw ofergoel i'r perwyl hwnnw.

31. Ceisbyliaid. Argreffid y gair ag s fach am y buasai pen yr f fawr yn gwrthdaro yn erbyn y b. Gweler td. 19, ll. 12; td. 131, ll. 21.

121. 14. Sir *Edmwnt Buwri-Godffri.* Syr Edmondbury Godfrey oedd ynad a fu'n dyfal chwilio i'r cydfrad pabaidd yn amser Siarl II. Cafwyd ef wedi ei ladd a'i gleddyf ei hun yn Hydref 1678, a "bwrid ei alanas ar y Pabyddion."—*Silvan Evans.*

123. 28. tan un, h.y. ar unwaith.

125. 19. ffrydd, c.a. am ffyrdd.

127. 15. yn yngwrth. Newidir hwn gan Silvan Evans i "yng ngwrth," gan adael *yn* allan a throi *yngwrth* yn ddau air. Ond y

*Td.* *ll.*

mae'r gwreiddiol yn fwy dealladwy. *Yngwrth*, medd Dr. Davies, yw sydyn, annisgwyliadwy; a dengys y pennill a ganlyn o waith Lewis Morris mai un gair ydyw, a'r acen ar y sill gyntaf:

Clywch yn y fro'r clych yn frau,
Yngwrth orchrechiad angau.

Rhaid cael yr *yn* i wneud y gair yn rhagferf; "yn yngwrth," yn sydyn.

127. 17. dy. Yn gywir *du*. Ysgrifennir *ty* yn lle *tu* yn aml gan Elis Wyn. Gweler td. 14, ll. 3; td. 81, ll. 12; td. 145, ll. 31; ond ceir ef yn gywir weithiau, megys td. 148, ll. 6, 7. Cymharer y nodyn ar dud. 99, 16.

26. Ychwi=ych chwi? Cwestiwn sydd yma.

128. 3. dinbren, c.a. am dinben; cymharer td. 129, ll. 17.

5. yn nâl, yn y ddalfa.

129. 7. eu amser, yn lle eu hamser. Diau mai yn ysgrif yr awdwr y digwyddodd y gwall, fe allai trwy roi *amser* yn lle rhyw air arall, megys *tymor* dyweder, lle nad oedd eisiau *h*.

130. 9. *Eignion* ab *Gwalchmai*. Einion neu Eingion yr ysgrifennir yr enw yn gyffredin. Yn ol traddodiad bu i'r ellylles drwy degwch ei gwedd hudo Einion oddiwrth ei wraig, ac yna ei bradychu ei hun drwy adael iddo weled ei charnau. Pan ddychwelodd Einion adref yr oedd ei wraig ar fin priodi gwr arall. Gweler un adroddiad o'r chwedl yn yr Iolo MSS., td. 176.

18. trychant. Ysgrifennir *tri* yn *try* weithiau mewn gair cyfansawdd. Cymharer *trydydd*; gweler hefyd *trywyr*, td. 111.

31. y nos arall; td. 131, ll. 28, y dydd arall. Ymddengys yr ymadroddion hyn fel pe na baent ond cyfieithiadau llythrennol o'r Saesneg "the other night," "the other day;" ond arferir hwynt yn aml gan Lewis Morris a Gronwy Owen yn eu llythyrau.

*Td.* *ll.*

131. 29. Interlud y Doctor *Faustus*. Dewin o'r Almaen oedd Dr. Faustus, yn byw tua diwedd y bymthegfed ganrif. Derbyniodd ei addysg, meddir, ym mhrifysgol Cracow; ac ar ol gwario'i etifeddiaeth, ymgyfamododd â'r Diafol—efe i gael pob mwyniant bydol dros ysbaid pedair blynedd ar hugain, a'r Diafol i'w feddu yntau'n llwyr byth mwy. Ymgasglodd pob rhyw chwedl oruwchnaturiol o gylch ei enw, nes peri amheuaeth ynghylch ei fodolaeth. Cyfansoddodd y bardd Seisnig Marlowe, rhagflaenydd Shakespeare, ddrama *Dr. Faustus*, wedi ei sylfaenu ar y chwedlau am dano; ac yr oedd mân chwaraegerddi ar y pwnc yn bur boblogaidd yn yr ail ganrif ar bymtheg. Wrth gwrs, yr oedd i'r Diafol ran bwysig ynddynt; a chyfeirio y mae Elis Wyn yma at ryw chwedl ddarfod i'r un drwg, pan berfformid un o'r rhai hyn yn Amwythig, ymddangos "i chwarae ei bart." Gellir crybwyll mai ar y traddodiadau am Dr. Faustus y seiliodd y prifardd Almaeneg Goethe ei ben campwaith *Faust*.

132. 7. i droi o gwmpas yr Eglwys. Ceir hanes yr ofergoel yn y *Brython* ii., td. 120. Elai'r merched bob un a channwyll i'r Eglwys nos Wyl y Meirw (Tachwedd 2 yw dydd y Meirw); ac wrth ddull y ganwyll o oleu y tybient ragweled llewyrch y flwyddyn oedd o'u blaen. Yna elai'r rhai dibriod ddwywaith neu dair o gylch yr Eglwys heb yngan gair rhag torri'r gyfaredd, ac i'w gwelyau, lle credent y gwelent trwy eu hun y rhai a fyddai'n wŷr iddynt.

20. *troi'r Cryseu*. Rhyw ofergoel arall i'r un pwrpas a'r uchod.

133. 17. benlewyn, c.a. am bentewyn.

21. Terfynen, c.a. am Terfyneu.

26. *Ellmyn*. Yr Almaenwyr a olygir wrth yr Ellmyn; ond arfera Elis Wyn yr enw am y wlad; ac felly yn td. 44. Gellir

*Td.* *ll.*

cymharu'r gair *Cymru* nad yw ond yr un gair a *Chymry*, ac a ysgrifennid felly'n wastad gynt.

133. 26. ynysoedd Fferoe. Gelwir hwynt hefyd Faroe. Y mae 22 o honynt, a 17 yn cynnwys trigolion. Safant 300 milltir i'r gorllewin o Norway a thua 200 i'r gogledd orllewin o'r Shetland Islands. Nid hawdd olrhain erbyn hyn at ba symudiad crefyddol mewn lle mor anghysbell, ac mor bell yn ol, y cyfeirir yma.

134. 11. bregethwyr y *Scubor*. Ni raid dweyd mai diwygwyr ymneilltuol y dyddiau hynny a feddylir.

135. 7-10. ffordd *Rhufain*, pabyddiaeth: ffordd *Geneva*, Calfiniaeth; yn Geneva y trigai Calvin. Y pab a gynrychiolai'r naill, ac Olfir, sef Oliver Cromwell, y llall.

20. Rhaglam, c.a. am Rhaglaw.

22. *Cerberus* yn chwedloniaeth Rhufain oedd gi Pluto, duw Hades. Y ci hwn a wyliai borth Hades rhag dianc o'r meirw allan, na dyfod y byw i mewn. Pa reswm oedd gan Elis Wyn yn rhoi enw hwn ar "ddiawl y *Tybacco*," nid hawdd canfod. Nid oes gan Quevedo enw ar hwnnw ond "the *Dæmon* of *Tabacca*."

136. 31. *Apollyon*, yr enw Groeg a roddir ar "angel y pydew diwaelod," a elwir yn Hebraeg Abaddon. Gweler Dat. ix. 11. Tardd yr enw *Apollyon* o'r Gr. ἀπολλύω, dinistrio, difa. Fe gofir am y rhan a ddyry Bunyan i'r ellyll hwn yn *Nhaith y Pererin*.

137. 11. *Asmodai*. Hwn oedd yr yspryd drwg a ddisgrifir yn yr Apocrypha, Tobit, pen. vi., vii., yn lladd, y naill ar ol y llall, saith o wyr i Sara pan elent ati noson y briodas, "am fod (y) cythraul yn ei charu hi," vi. 14. Cyfeirir ato weithiau fel ysbryd drwg priodas; ac fe welir paham y'i gelwir yn "ddiawl yr anlladrwydd" gan Elis Wyn. Dywed traddodiad Iddewig diweddar mai'r un ydyw ag Apollyon neu Abaddon.

*Td.* *ll.*

137. 25. fyddin fawr yr *Assyriaid.* 2 Bren. xix. 35; 2 Chron. xxxii. 21; Esa. xxxvii. 36. Eithr y mae cof Elis Wyn yn wallus; nid anlladrwydd, ond cabledd Senacherib oedd y trosedd.

29. welliais, gweler yr Eirfa d.g. *gwallio.*

138. 6. *Belphegor*, neu Baalpeor. Y Baal a addolid ym mynydd Peor; un o dduwiau'r Moabiaid. Num. xxv. 2, 3.

10. mudd. Felly yn holl argraffiadau'r ganrif ddiweddaf oddigerth un 1767, lle ceir "mud." Tebyg mai c.a. sydd yma, ac mai mud ddylai fod, fel y darllenna Silvan Evans.

139. 20. *henw*; hefyd td. 140, ll. 12. Arferid yn fynych gynt ysgrifennu *henw* am *enw*, fel y lleferir ef eto gan mwyaf yn y Gogledd. Cymharer *helw* am *elw*. Gweler D. ap Gwilym, clxvi, "Henw cariad y bardd."

A'th fawrglod hynod a henwaf.
*W. Lleyn.*

141. 4. *Belzebub*, Baal-zebub; duw'r gwybed, a addolid gan y Philistiaid yn Ecron; 2 Bren. i. 2, 3, &c.

142. 8. wedi. Gweler nodyn ar td. 6, ll. 1.

18. ac y mae e. Dealler "rhwng" yma o'r frawddeg o'r blaen,—a rhwng y mae e, h.y. rhwng y rhai y mae e.

144. 9. Gerddi, &c. Dengys yr *ph* yn *pherthynaseu* mai o flaen y gair hwnnw y dylai'r *a* fod, neu o leiaf y dylai *a* arall fod o flaen hwnnw. Meirch a pherthynasau drudfawr, *horses and costly equipages.*

145. 21. ar y=ar ei. Fel y sylwyd yn y nodyn ar td. 109, ll. 1, *i* yr ysgrifennid gynt y gair am *his* neu *her*; ond yn y can. oes. pan oedd sain *i* yn aml i'r llythyren *y*, ysgrifennid y gair yn *y*, a seinid ef *i*. Gall mai'r hen sillebiaeth sydd gan Elis Wyn yma. Cymharer *ar y wartha*, td. 152, ll. 8.

28. rhywired. Camsillebiaeth am *rhywyred*, neu, yn gyflawn, *rhykwyred.*

*Td.* *ll.*

146. 23. storiâu. Clywir yr hen liosog hwn eto'n aml ar lafar. Ffurfir ef, nid o *stori* o'r Saes. *story*, eithr o *ystoria* o'r Llad. *historia*. O *ystoria* ceir *ystoria-au*, yna *ystoriâu*.

> Cyd adrodd a'm cyd oedran,
> Hen ystoriâu—onest ran.—*S. Phylib.*

147. 3. diofal ysmala. Benthyciodd Gronwy Owen yr ymadrodd hwn fel rhai eraill o'r B. Cwsc yn ei *Gywydd y Farn Fawr*:

> Gwae'r diofal ysmala,
> Gwynfyd i'r diwyd a'r da.

150. 10. *o ddàl*, h.y. o oddef; o bechod goddefol i bechod gweithredol.

151. 3. dyfrrwch, c.a. am dyfyrrwch.

21. *wraidd*, h.y. *ŵraidd*, o'r un ystyr a gwrol, ac yn tarddu, fel yntau, o *gwr*.

152. 8. *ar y wartha*. Gweler nodyn ar td. 145, ll. 21.

22. *genni*, h.y. *gennif*. Gweler y nodyn ar td. 5, ll. 20.

153. 9. *dithe'r*. Saif am *dithau er*.

# GEIRFA.

D.S.—*Gweler rhestr o'r talfyriadau ar ddiwedd y llyfr.*

Abrwysg, td. 25, *meddw.* O'r gair *brwysg* gyda'r rhagddodiad cadarnhaol *a*, ac o'r un ystyr. Cymharer *trist* ac *athrist.* Arferir y gair gan Elis Wyn yn ei *Reol Buch. Sanct.*, td. 65, "Na fydd yn fynych mewn gwleddoedd, nac un amser mewn cwmpeini abrwysg." Am yr ystyr gellir dyfynnu

> Dyfod yn frwysg o'r dafarn.
>
> *D. ap Gwilym*, clxxiv.

Adwythig, td. 59, o *adwyth*, cyfansoddair o *ad* gadarnhaol a *gŵyth.* Ystyr *gŵyth*, medd Dr. Davies, yw "digllonedd;" felly "digllon," "atgas," ydyw adwythig.

> Athrodion gweision a gwŷr
> A bair adwyth rhwng brodyr.
>
> *T. Aled.*

> Y Prydydd, pa ryw adwyth
> Sydd arnat ti 'leni'n lwyth ?
>
> *D. ap Gwilym*, lxx.

Afanc, td. 125. Arferir y gair gan ysgrifenwyr diweddar am *beaver;* ond rhyw ellyll dwfr ydoedd yn ol hen chwedloniaeth y Cymry. Gelwir ef hefyd *Addanc.* Adroddir yn y Mabinogion hanes Peredur yn torri pen Addanc y Llyn (Rhys and Evans, *Mab.* td. 223-232); ond y traddodiad diweddarach, a'r un y cyfeirir ato yma, yw mai yn Llyn Llion yr oedd, ac mai Ychen Bannog Hu Gadarn "a lusgasant Afanc y Llyn i dir, ac ni thorres y llyn mwyach." Trioedd, iii. 97. Gweler *Geiriadur* Silvan Evans, d.g., *Afanc, Addanc*, a Hibbert Lectures y Prifathraw Rhys, td. 592-595.

Affaith, td. 129. O'r Lladin *affectio*. Golyga gyflwr rhywbeth, neu berthynas â rhywbeth, neu gyfranogaeth ynddo. Er engraifft, un o'r "naw affaith galanas" oedd "mynegi y dyn a ladder i'r dyn a'i lladdo," *Anc. Laws*, i., td. 218. Felly yma, "heb wneud affaith" yw heb wneud, nid yn unig weithred, ond dim yn dwyn cysylltiad â gweithred.

Anghysbell, td. 7, pellennig. Dyry Silvan Evans yr ystyr o "agos" i'r gair *Cyspell*, a chymer y rhagddodiad *an* yn nacaol. Ond tebycach mai cadarnhaol ydyw'r *an*, ac mai pell oddiwrth eu gilydd, *mutually distant*, ydyw cysbell.

Ail, td. 51, Saes. *aisle*, asgell adeilad, yn ol tyb Silvan Evans; ond yn rhai o'r argraffiadau newidiwyd y gair i *sail*, ac y mae'r gynghanedd yn awgrymu mai hynny sydd iawn, ac mai cam-argraff ydyw *ail* yma am *sail*.

Album Graecum, td. 104, "A name given to the excrement of dogs, which becomes white as chalk by exposure to the air." *Lloyd's Dic.* "Ni arferir ond ychydig arno oddigerth at ennyniad y gwddf, gyda mêl; a hynny oddi allan fel plastr; ond anaml, fel yr ymddengys, i ddim pwrpas." *Quincey's Compleat English Dispensatory*, 12th edit. 1749, dyfynedig gan Silvan Evans.

Alias, td. 74, 75, gair Lladin yn golygu "o fodd arall." Arferir ef yn gyffredin, fel yn y mannau hyn, i gysylltu â'u gilydd ddau enw gwahanol ar yr un person.

Anaelef, td. 88, 91, 107, 148, erchyll. O *aele* gyda'r rhagddodiad cadarnhaol *an*. Sillebir y gair yn *aele* neu *anaele* yn gyffredin :—

> Gwelwn rhyw olwg aele,
> Gwelw afon draw gerllaw'r lle.
>
> *D. ap Gwilym*, Chwan. iii.

Ond y mae Gruffudd ab Meredydd (Myf. i. 472, ail arg. 315), a Golyddan (eto i. 156-7, ail arg. 120) yn ei odli a *champau*, *dagrau*, *trethau*; felly hefyd D. ap Gwilym, "Gwaeau anaelau o nych," a Dafydd Benfras. (Gweler Geiriadur Dr. Davies). Eithr yn Marwnad Cunedda a briodolir i Daliesin, odlir ef ag *olew*, ac *untrew* (? *untref*)

a *chyflew (? cyflef)*; felly y mae'n ddigon posibl fod sillebiaeth Elis Wyn yn gywir wedi'r cyfan.

Anescorol, td. 11, nas gellir esgor arnynt, neu gael gwared o honynt; anfeddyginiaethol.

Anhyweth, td. 147, yn briodol, *anhywaith*, sef anhawdd ei weithio, anhawdd ei drin; o *an hy* a *gwaith*.

Annwfn, td. 8, 71, uffern. *An* gadarnhaol a *dwfn*.

Archfa, td. 23, 88, 89, 112, arogl. Y mae *w* ac *f* yn aml yn cyfnewid y naill am y llall, megys yn *cafod*, *cawod*. Saif *archfa* am *archwa*, o *ar* a *chwa*, anadl.

Aruthr, td. 9, rhyfeddol, *ar* ac *uthr*. Arfera Elis Wyn y gair yn aml i gryfhau ystyr ansoddair megys y gwna yma. Cymharer Gwrthnysig aruthr td. 89.

As, td. 6, mymryn. O'r Saesneg *ace*, a ysgrifennid yn y canol oesoedd *as*, a hwnnw o'r Ffrengig *as*, o'r Lladin *as*, o'r Roeg *ἄς*, "y dywedir mai cynhaniad Tarentaidd yw o'r gair Groeg *εἷς*, un."—Skeat.

Astrus, td. 151, dyrys, o'r Lladin, *abstrusus*.

Attreg, td. 7, 152, oediad, gohiriad. Y mae'r tarddiad yn amheus. Awgryma Silvan Evans *ad* a *rheg*, ond *adreg* a ddylasai fod felly. Tebycach ei fod yn tarddu o'r un gwraidd a'r gair *trigo*.

Bach, td. 11, *hook*. Gwydd. *bacc*, Llyd. *bach*.

Bachell, td. 104, cil*fach*; o'r un gwreiddyn a'r rhan olaf o'r gair hwn. Cymharer *y Fach*, &c.

Bandieu, td. 20, *bonds*. Yr un gair yw'r Saesneg *band* a *bond*, y ddau yn tarddu o *bind*.

Barth, td. 50, llawr. Dywed Silvan Evans fod y gair ar gyffredin arfer yng Ngwent a Morganwg ac mewn rhai parthau o Wynedd.

Bedlam, td. 12. Saesneg, *Bedlam*, M.E. *bedlem* llygriad o *Bethlehem*. Priordy St. Mary Bethlehem, a sefydlwyd yn 1247, ac a drowyd yn wallgofdy yn 1547 ar ddadgorfforiad y mynachdai. Yn ddiweddarach arferid yr enw fel enw cyffredin am ryw wallgofdy.

Beisdon, td. 61, 90, traeth. O *bais* a *ton*; lliosog *bas* "shallow," ydyw *bais* "shallows." "Ac nyt oedd fawr y weilgi yna i *feis* y daeth ef," Mabinogion td. 35. "Tri pheth echrys eu drygsawr: hên gadno bras mewn prysgle, morvil marw

ar y veisdon, a mochyn o veddwyn."—Myf. iii. 250; ail arg. 901.

Bir, td. 144, o'r Saesneg *beer*, M.E. *bere;* Almaeneg *bier*. Dywed Skeat fod yn debyg fod cysylltiad rhyngddo â *brew*, berwi.

Bolera, td. 23, gloddesta. O'r gair *bol.*

Bonllef, td. 107, yn fwy cywir, *banllef* medd Dr. Davies; o *ban*, sef uchel, a *llef.*

Brau, td. 116, ebrwydd, rhydd. Arferir ef yn yr ystyr hwn yn aml gan y beirdd.

> Ac ymaith taflwn eu trom iau,
> Ni chânt yn frau mo'n gorfod.
> *Ed. Prys*, Salm ii. 3.

Breibwyr, td. 19, o'r Saesneg *briber*, llwgrwobrwywr. Tardd y gair Saesneg *bribe* o'r hen Ffrengig *bribe*, sef tamaid o fara a roddid i gardotyn. Tardd y gair Ffrengig drachefn o'r Llydaweg, o'r un gwraidd a'r gair Cymraeg *briw*, toredig, megys yn *briwfwyd*, *briwsion*, &c. Gweler *bribis* isod.

Bribis, td. 81, o'r Saesneg *bribes*, tameidiau neu friwsion; gweler *breibwyr* uchod. *Brib* oedd cynhaniad y gair mewn hen Saesneg a hen Ffrangeg, ac o'r cynhaniad hwnnw y tardd *brib* yn Gymraeg. Benthyciadau diweddarach ydyw *breib* a *breibwyr*. Dylid sylwi, er mai Celtaidd oedd y gwreiddyn cyntefig, mai o'r Llydaweg trwy'r Ffrangeg a'r Saesneg y cafodd y Gymraeg y geiriau yn y ffurfiau hyn.

Briwlio, td. 90, o'r Saesneg *broil*, o'r hen Ffrangeg *bruiller*.

Brutiau, td. 64, yn y ffurf unigol *brut* neu *brud.* Brutus o Gaer Droea oedd arwr chwedl fawr Gruffudd ab Arthur, "Ystoria Brenhinedd y Brutaniaid," am y tybid mai efe a roes ei enw ar Frydain. Galwyd y chwedl oddiwrth enw'i harwr yn "Frut y Brenhinoedd;" ac wedi hynny aeth Brut yn enw ar bob rhyw ramant. Wrth fod Brut y Brenhinoedd yn cynnwys y proffwydoliaethau meithion a briodolir i Fyrddin, aeth Brut, neu Brud, yn enw ar broffwydoliaeth neu ddarogan; ac wrth frutio neu frudio y golygir proffwydo, darogan.

Brutio, td. 61. Gweler Brutiau uchod.

Bugunad, td. 33, rhuo.

Burgyn, td. 85, corff marw, celain, ysgerbwd.

Bydan, td. 152. Bychanig o'r gair *byd.*

Bydol, td. 59. Dyn bydol; nid cybydd a olygir, ond dyn o'r byd hwn o'i gyferbynnu ag un o diriogaeth angeu.

Bytheirio, td. 23, cyfogi. Llygriad o *brytheirio.* Y mae'r tarddiad yn amheus.

Cadfa, td. 95, 106, tyrfa; o *cad* a'r terfyniad *fa.*

Cadlais, td. 85, llannerch. Nid camargraff ydyw'r sillebiaeth, canys fe ddyry Dr. Davies y ddwy ffurf *Cadlais & Cadlas*, a'r ystyr a rydd iddynt yw "*Area.*" Os *glas* ydyw'r ail elfen yn y gair, gall *glais* fod yn ffurf liosog o hono, fel *bais* o *bas* (gweler d.g. *beisdon*). *Gwelltglais* nid *gwelltglas* a ddywedir mewn rhannau o Wynedd hyd heddyw.

Cainc, td. 16, cangen; mewn miwsig, *air*, yr hyn a gamelwir yn "alaw" yn y dyddiau hyn.

Canel, td. 100. O'r Saesneg *kennel.* Gair Ffrengig Normanaidd, wedi ei ffurfio o *ken*, ci, yn tarddu o'r Lladin *canem.*

Canhebrwng, td. 28, neu, cynhebrwng; y gair cyffredin yng Ngwynedd am angladd neu gladdedigaeth. Y mae'r ddau sillafiad yn hen. Wrth gwrs, yr ystyr wreiddiol ydyw cyd-ddanfon, cydganlyn. Gweler *ebr* isod.

Carl, td. 146, cybydd, cerlyn. O'r hen Saesneg *cherl*, *cheorl*, Anglo-Saxon *ceorl*, Saesneg diweddar *churl.* Am y gair *churl* yn yr ystyr o gybydd gweler *Isaiah* xxxii. 5.

Carnlladron, td. 19, 78. Codid *carn* neu bentwr o gerryg, yn yr hen amseroedd, ar feddau gwroniaid, fel arwydd o anrhydedd. Pan ddechreuwyd claddu mewn mynwentydd, medd Dr. Pughe, aeth y garn i anfri, ac ni chodid hi ond ar fedd troseddwr. Felly, *carnlleidr* yw lleidr yn haeddu ei gladdu dan garn. Cymharer td. 101, ll. 2, ac hefyd *carnfradwr*, *carnfeddwyn*, *Carn-Sais*, &c. Fe all, er hyn, nad oedd *carn* ond arwydd o enwogrwydd o ryw fath; ac i'r ystyr ddrwg yn unig lynu wrth y gair fel wrth y gair *notorious* yn Saesneg.

Carnwinedd, td. 145. Darllenna Silvan Evans a Pughe, "ar ei garnewinedd," sef ar ewinedd ei

garnau, neu ar flaenau ei draed. Nid yw'n ymddangos fod y gair yn digwydd yn unman arall.

Cart, td. 97, *chart*. Tardda drwy'r Saesneg, a'r Ffrangeg a'r Lladin, *carta*, *charta*, o'r Groeg *χάρτη*, dalen o bapur. Y mae amryw ffurfiau i'r gair yn Saesneg, *card*, *carte*, *chart*.

Catffwl, td. 132. Tybia Silvan Evans mai cetyn neu ddarn o ffwl a olygir. Tebycach gennyf mai o'r Saesneg *cad*, *caddie*, adyn isel, y daw rhan gyntaf y gair. Tardd y gair hwn o'r Ffrangeg *cadet*; a'i hen ystyr yn Saesneg oedd bachgen o negeseuwr. Arferir y gair *cat* ym Môn am was bach mewn fferm. Lle bo'r llafariad yn fer tuedda'r Cymry i galedu'r gydsain.

Ceisbwl, td. 19, Saesneg *catchpole*, beili, un a gymerai droseddwyr i'r ddalfa. Gelwid ef felly am fod ganddo, at *ddal* ffoaduriaid, *bolyn* a math o goler haearn ar ei ben, wedi ei lunio i lithro'n hwylus am ben y ffoadur a'i gadw'n ddiogel yn y ddalfa. Gweler portread o hono yn Chambers' *Book of Days*, ii. 365.

Celanedd, td. 66, cyrff meirw, yr unigol yw *celain*. Cymharer *gwraig*, *gwragedd*; *neidr*, *nadredd*; *rhiain*, *rhianedd*.

Celffaint, td. 99, hen bren crin. Gweler D. ap Gwilym, Chwanegiad vii. 39. Arferir y gair yn aml megys yma am hen ddyn.

> Codi a wnai'r delff gelffaint
> O'i wâl ei hun, awel haint.
>
> *D. ap Gwilym*, clxxiv.

Cêr, td. 42, 57, taclau; o'r Saesneg *gear*.

Cerlyn, td. 140, bychanig o *carl*, cybydd. Gweler *carl* uchod.

Cêst, td. 15, bol, yn enwedig gormod o hono. O'r Llad. *cista*. Cymharer Saes. *chest* o'r un tarddiad.

Cestyn, td. 140, 143, bychanig o *cast*, td. 24. O'r hen Saesneg *cast*, sef dichell. Gair Scandinavaidd.

Ceubal, td. 66. Y mae Elis Wyn yn arfer y gair fel y gwneir eto mewn mannau yn yr un ystyr a *cheudod*; ond math o gwch ydyw *ceubal* mewn gwirionedd. Tardd o ryw ffurf Lladin tybiedig *caupalus*; nid yw'n digwydd ond yn y ffurfiau

*caupulus*, *caupilus*. Loth, *Les Mots Latins*, d.g. *ceubal*.

Ceubwll, td. 8, pwll gwag. O *cau*, Llad. *cavus*, gwag.

Ceuddrws, td. 114. Ystyr y rhagddodiad *ceu* ydyw gwag, gweler uchod. Nid yw'n hollol glir pa beth a olygir wrtho yma. Dywed Silvan Evans yn ei Eiriadur mai *trap-door* yw ceuddrws.

Ceulo, td. 3, tewychu fel llaeth; o'r Llad. *coagulo*.

Ceunach, td. 23, ysgyfarnog. *Ceinach* yr ysgrifennir y gair yn gyffredin. Y mae ei darddiad yn ansicr, ond gall fod perthynas rhyngddo a'r gair *cwnhingen*, hen Saesneg *conyng*, Lladin *cuniculus*.

Ceunant, td. 7, 8, nant sech. Gweler *ceubwll* uchod.

Cibedrychiad, td. 15. Cymharer *cipolwg*. O wraidd y gair *cipio*.

Cigweiniau, td. 8, crafangau; unigol *cigwain*, *flesh-hook*. Yr ail elfen o'r un gwraidd a *gwanu*, *trywanu*. Ceir y gair yn aml yng Nghyfreithiau Hywel.

Ciwed, td. 6; ysgrifennir y gair gan rai yn *giwaid* fel petai'n lliosog; ond gair unigol benywaidd ydyw, yn tarddu o'r Llad. *civitas*; ac y mae sillebiaeth Elis Wyn yn berffaith gywir.

Cleimiau, td. 41. "Os yw 'cleimiau claer' (o'r Saesneg *claim*) yn ddarlleniad cywir, nid yw yr ymadrodd amgen na geiriau llanw i helpu'r mesur a'r gynghanedd. Buasai '*clemiau* claer' yn rhoddi rhyw fath o ystyr."—*Silvan Evans*.

Cleimio, td. 46, hawlio; o'r Saesneg *claim*.

Clipwyr, td. 19, Saesneg *clippers*, rhai fydd yn clipio neu docio arian bath. Arferwyd y gair clipiwr yn y bedwaredd ganrif ar ddeg gan Fadog Dwygraig (*Myf*. i. 488, ail arg. 326).

Clôs, td. 75, *trousers*. Saesneg *small-clothes*.

Clul, td. 70, caniad cloch ar farwolaeth un. Y mae i'r gair amryw ffurfiau yn Gymraeg,—*cnul*, *cnull*, *cnill*. Tarddant oll o'r hen Saesneg *knillen*, Anglo-Saxon *cnyllan*, curo'n drystfawr. Arferir y ffurf *clul* gan Iolo Goch 300 mlynedd o flaen Elis Wyn.

> Gyfryw glul ar ol gafr gloff.
>
> *Gweithiau* (Ashton) td. 411.

Cnâ, td. 21, cnaf, dyhiryn. O'r Saesneg *knave*.

Codog, td. 29, cybydd; un yn meddu llawer o *godau*.

Coegfall, td. 127. *Coeg*, gwag, gwamal, *mall*, drwg. Newidiwyd y gair i *goegfalch* mewn rhai argraffiadau diweddar.

Cogiwr, td. 21, Saes. *cogger*, twyllwr gyda'r disiau. Digwydda'r gair Saesneg *to cog* gyntaf yn 1532, yn ol Geiriadur Dr. Murray; ac ymddengys yn gyffredin wrth y cyd-destun mai rhyw dric o daflu'r dis a olygid. O'r ystyr hwn daeth i olygu twyllo yn gyffredinol; arferir *cogio* ar lafar yng Ngwynedd heddyw am *dwyllo*—"ei gogio a gafodd;" ond yn fwy cyffredin am *pretend*—"cogio cysgu" *to simulate sleep*. Nid yw'r gair yng Ngeiriadur Dr. Davies, ond ceir ef yn y ffurf *coggio* yn rhestr geiriau ychwanegol y Dr. a gyhoeddwyd gan Ed. Llwyd. Newidiodd Dr. Pughe y gair i *coegio* er mwyn ei darddu o *coeg;* a chymerodd rhai o'r geiriadurwyr Saesneg yn ganiataol fod hwn yn air gwirioneddol, a tharddasant *to cog* o hono. Newidiodd Silvan Evans air y Bardd Cwsg yn y fan hon i goegiwr, heb sôn dim; ac ni cheir yn ei Eiriadur ond *coegio*, heb awgrym mai *cogio* yw ffurf gyffredin y gair. Dyfynna *coegio cysgu* fel ymadrodd cyffredin yng Ngwynedd; ond ni chlybu neb y fath ymadrodd yng Ngwynedd; ac nid yw llafar Gwynedd yn troi *oe* yn *o* yn y fath le; ni ddywedir *codio* am *goedio*, na *cholio* am *goelio*. Nid oes rith o sail dros dybio fod a wnelo'r gair â *coeg;* dyry'r gair hwn y ferf gyffredin *coegi*, *to be sarcastic*. Tardd *cogio* yn ddiameu o'r Saesneg *cog;* ac am hwnnw, fel y dywed Dr. Murray, "as in other cant terms, the origin has not been preserved."

Collborth, td. 74, 80. Porth y colledigion. Gair a luniodd Elis Wyn.

Corpws, td. 6. Benthyciad diweddar o'r Lladin *corpus;* hen fenthyciad o *corpus* ydyw *corff*.

Costog, td. 38; corgi, ci ffromedig. Arferir ef am ddyn sarrug. Ceir y gair fel ansoddair td. 136.

Cowled, td. 152, llygriad cyffredin o *coflaid*. Yma arferir ef am *gofl* neu *fynwes*, ac nid yn yr ystyr arferol o lonaid breichiau.

Cottyn, td. 29. O *cod*. Byrhâd o hwn yw *cot*, td. 30, lliosog *cottiaid*, td. 124.

Crab, td. 30, Saes. *grab*.

Crau, td. 41, twll, megys crau nodwydd ddur, crau

bwyall. Newidiwyd y gair i *crai* gan Dr. Pughe, er mwyn ceisio gwreiddyn i *craidd*, &c., a cheir ef yn y ffurf hon ym Meiblau'r Feibl Gymdeithas o arg. 1807 hyd heddyw. Dilynwyd Pughe gan Silvan Evans yn ei arg. o'r B. Cwsc; ond yn ei Eiriadur, cywira Mr. Evans y gwall, a dyry brofion cedyrn mai *crau* yw'r ffurf gywir, a dywed na welwyd erioed mo'r ffurf *crai* cyn ymddanghosiad geiriadur Pughe.

Crawn, td. 65, peth wedi casglu neu gronni ar ddoluriau. O *crawn* y ffurfir y gair *cronni*.

Creifion, td. 26, *scrapings*, o *crafu*.

Creu, td. 37, 65. Arferir *crĕu* mewn hen Gymraeg am grawcian bran, yn union fel y ceir ef yn yr ail o'r lleoedd hyn. Ymddengys fel petai Elis Wyn yn y fan gyntaf yn ei gamgymeryd am *grefu*, gair a fenthyciwyd, mae'n debyg, o'r Saesneg *crave*.

Cribinwyr, td. 125, cybyddion.

Crogyn, td. 7, *hangdog*.

Crugo, td. 93, poenydio. Nid yw'n tarddu yn rheolaidd o'r Lladin *crŭciare*; ond gall mai benthyciad diweddar o hono ydyw.

Crwth, td. 22, hen offeryn Cymreig tebyg i ffidl. Tybir mai gwrywaidd y gair *croth* ydyw *crwth*, ac mai ffurf grothog yr offeryn a awgrymodd yr enw. Gwydd. *crotta*.

Cuchio, td. 7, gwneud cilwg. O'r gair *cuwch*. Y mae'r cyfuniad *uw* yn troi'n *u* fel rheol pan ychwanegir sillaf ato; megys, *uwch*, *uchel*; *buwch*, *buchod*; *lluwch*, *lluchio*; *cuwch*, *cuchio*.

Cuwch, td. 8, cilwg. Lliosog *cuchiau*. Gweler *cuchio* uchod.

Cwestiwr, td. 41. Wrth y gair Saesneg *questman* y golygid un a roddai hysbysrwydd am droseddau, ac a gychwynai fân erlyniadau; achwynwr cyhoeddus.—Lloyd's *Dic.* "Y mae dywedyd bod dyn yn cwesta ar hwn a'r llall yn ymadrodd cyffredin yn Nyfed."—*Silvan Evans.*

Cwcwaldiaid, td. 102. Y ffurf fwyaf cyffredin ar y gair yw *cwcwallt*. O'r Saesneg *cuckold* (yn yr hen ffurf *kukwald*,) gŵr a'i wraig yn anffyddlon iddo. Tardd y gair o'r hen Ffrengig *coucol*, a hwnnw o'r Lladin *cuculus*, cog; am fod y gog yn dodwy

yn nythod adar ereill. Cyfeiriad sydd yn y lle hwn at yr hen syniad fod cyrn yn tyfu ar ben cwcwallt.

Cwmbrus, td. 75, Saesneg *cumbrous*, rhwystrus.

Cwsmeiriaid, td. 119, yn gyffredin *cwsmeriaid*, unigol, *cwsmer;* o'r Saes. *customer.* Effaith sillebiaeth y gair *cymeiriaid* (ll. 8) sydd arno yma.

Cydcwyn, td. 76, cyhuddiad, *indictment.*

Cyfarthwyr, td. 19, 62, 120. Mae'n debyg, fel y sylwa Silvan Evans, mai'r *dadleuwyr* neu'r bargyfreithwyr a olygir, gan yr enwir y twrneiod ar wahân (td. 62, 120). Ni wyddys fod y gair i'w gael yn yr un ystyr yn unman arall. Gall fod Elis Wyn yn bwriadu iddo fod yn fath o chware ar y gair *cyfreithwyr.*

Cyfog, td. 11, chwydu, gloesi. Llygriad o *cyfod,* gair a arferir yn yr un ystyr. Gweler *Geiriadur* Silvan Evans.

Cyfrdo, td. 52, drosto oll; o *cyfr* a *to.* Cymharer *cyfr-goll.*

Cyfrodedd, td. 28, cyd-weëdig; *cy—brodio.* O'r Saes. *broider* (yn ei hen ffurf *broder*), a hwnnw o'r hen Ffrangeg *broder.*—Skeat.

Cyfyl, td. 64, 101. O'r un gwreiddyn ag *ymyl.* Ar eu cyfyl, ar eu pwys, i'w hymyl, yn agos atynt.

Cyff cler, td. 30. *Cyff,* boncyff, o'r Lladin *cippus. Cler,* y beirdd, benthyciad diweddar o'r Lladin *Clerus,* yn yr ystyr o ddynion dysgedig. Yn yr hen Eisteddfodau, gwneid gwr o bencerdd yn *gyff cler,* i'r holl fân feirddiach ganu gogan iddo o'r hyn ddigrifaf a allent; a chai yntau eu hateb drannoeth. *Gramadeg* J. D. Rhys, td 304, *Y Greal,* td. 332.

Cymhendod, td. 26, *nicety.* O cymen, *nice, neat;* o *cym* a *pen.*

Cymmeiriaid, td. 72, 94, 119, lliosog o *cymar.*

Cynhaig, td. 100, ansoddair wedi ei ffurfio o'r lliosog *cŵn.*

Cynheica, td. 100, berf wedi ei ffurfio o *cynhaig.*

Cynhinion, td. 21, dernynnach. Sillebir yr unigol yn *cinyn* gan Dr. Davies, ac y mae Silvan Evans yn sillebu'r lliosog yn *cinynion.* Ond *cynhinion* a ddywedir ym Môn; a'r *y* a geir gyntaf yn wastad, mi dybiaf, mewn hen ysgrifau, o leiaf yn y lliosog ac yn y ferf *cynhinio,* sef darnio.

Cynnio, td. 100, o'r gair *cŷn*, sef ebill.

Cynnud, td. 40, tanwydd, deunydd tân.

Cynnws, td. 32, yn gywir *cynnwys*, sef, yn y fan hon, caniatau. O'r Lladin *condensus*, cyd-wasgedig. *Lle cynnwys* ydyw lle cyfyng, am fod pethau wedi eu gwasgu ynghyd ynddo. Dywedir fod lle yn *cynnwys* pethau am eu bod ynghyd ynddo; ac o hynny ystyr gyffredin y gair ydyw dal, derbyn; ac o hwnnw ceir yr ystyr ffigyrol o ganiatau.

Cynnwysiad, td. 44, 51, caniatad. Gweler uchod.

Cystwyo, td. 126, cospi, fflangellu. O'r hen Ffrangeg *castoier*, a hwnnw o'r Lladin *castigo*.

Cythryfwl, td. 126, terfysg. Tardd y gair o'r Llad. *contribulo*, a sillebiad Elis Wyn yw'r cywiraf yn ol y tarddiad, er na wyddai efe wrth gwrs ddim am y tarddiad.

Cywiro, td. 32, cadw addewid. Pennu oed, *to make an appointment*; cywiro oed, *to keep an appointment*.

Chwap, td. 56, 143, 149, ar darawiad. O'r Saesneg *whap*, taro.

Chwippyn, td. 135, ar darawiad. O'r Saes. *whipping*.

Dadmer, td. 51, meiriol, dadlaith. *Dadmer* yw'r gair cyffredin yng Ngwynedd. Gwelir yr un gwreiddyn yn *go-fer*, *di-fer-u*. Yr un gwraidd hefyd a geir yn y gair *meir*-iol.

Daed, td. 67, 73, 145, *cystal*; y radd gyfartal o *da*.

> Ba ddelw na bai dda Wiliam,
> A daed fu ei dad a'i fam?
>
> *Gram. J. D. Rhys*, td. 251.

Damchwa, gweler Tamchwa.

Dèl, td. 67, cyndyn, ystyfnig, anynad, medd Dr. Davies.

Diadlam, td. 69, o *di-ad-llam*, nas gellir llamu'n ol drosti, neu, td. 149, o hono. Ceir y gair yng Ngeiriadur Dr. Davies dan y gair Lladin *irremeabilis*. Diau mai oddiar y Bardd Cwsc y benthyciodd Gronwy Owen y syniad am y wal ddiadlam rhwng y ddau fyd yng *Nghywydd y Farn Fawr*.

> Bydd hadl y wal ddiadlam,
> Yrhawg, a chwyddawg a cham.

Diaspedain, td. 118, llefain, seinio; o *diaspad*, llef. "Or clywi ddiaspad dos wrthi, a diaspad gwraig (yn) annad diaspad o'r byd."—*Mab.* 195.

Dibriddo, td. 85, ymadael â'r corff o bridd; gair grymus a ffurfiwyd, mae'n debyg, gan Elis Wyn ei hun.

Dichlined, td. 17, yn fwy cywir *dichlyned;* dichlin, td. 101, 110, h.y. dichlyn. Diwyd, gofalus. O wraidd y gair *glynu.*

Diesgor, td. 131, anesgorol, nas gellir cael gwared o hono.

Difachio, td. 114, dad-fachu.

Difes, td. 86. Y gair Lladin *Dives*, goludog. Arferir yr enw yn gyffredin am y gwr goludog yn y ddameg, Luc xvi.

Difregwawd, td. 61. "Difregwawd Taliesin" y gelwir un o'r caniadau a briodolir i'r Cynfardd. Nid yw'r darn yn hen lawysgrif *Llyfr Taliesin;* a dengys yr iaith mai diweddar yw. Mewn cân arall a briodolir i Daliesin y digwydda'r llinellau a ddyfynnir yma. Cân ysgrythyrol seml ydyw "Difregwawd Taliesin," heb broffwydoliaeth na dirgelwch ynddi; a phrin y mae digon o sail i gysylltu'r pethau cyfriniol hyn â'r gair difregwawd. Hen ystyr *gwawd* ydyw cân, neu gân o fawl. Ystyr *breg* ydyw toriad neu goll mewn peth; *difreg* ydyw *flawless*, di-fai, heb goll ynddo. Tebyg ei fod o'r un gwreiddyn a'r Saesneg *break*, Lladin *frango*, &c. Felly ystyr difregwawd yw cân ddi-fai, cân berffaith.

Dihafarch, td. 38, cryf, pybyr, bywiog. Y mae ystyr a tharddiad *hafarch* yn anhysbys.

> Mab Llywarch ddihafarch ddyndid.
>
> *Llyw. ap Llywelyn.*

> I'r cadfarch dihafarchwych,
> Carnau a roes,—cyrn i'r ych.
>
> *Gro. Owen.*

Dihenydd, tud 12. *Y Ddinas ddihenydd*, Dinas angeu, neu Ddinas Distryw. Y mae i'r gair *Dien* wahanol ystyron; golyga *fresh*, megys

> Dan lwyn a dien lannerch.
>
> *D. ap Gwilym*, xliv.

Hefyd, tragwyddol, megys yn yr ymadrodd *Duw Dien.* Ond yr ystyr fwyaf cyffredin o *ddien* neu *ddihenydd* ydyw marwolaeth, neu gospi trwy farwolaeth. Yma Dinas wedi ei dedfrydu i

farwolaeth; *dynion dihenydd*, dynion dan gollfarn. Gall *di* fod yn gadarnhaol neu negyddol; a thybia Silvan Evans fod y gair yn yr holl ystyron uchod yn tarddu o *en*, y gwraidd a geir yn *enaid;* ac mai o *hen* y tardd y gair yn yr ymadrodd *hen ddihenydd.* Diau fod y gair *hen* wedi effeithio ar *ystyr* yr ymadrodd hwn pan fabwysiadwyd ef gan gyfieithwyr yr Ysgrythur; ond yn yr ystyr o ddyn neu ddynes hen iawn, fe dybir gan rai mai un digon hên i'w ddienyddio a feddylid—ymadrodd yn dod i lawr o oesau barbaraidd pan leddid y neb nad oedd o ryw fudd i gymdeithas.

Dinbenstrellach. Gweler dan y llythyren T.

Diofryd, td. 132. O *di* negyddol, a *go-fryd;* y gwrthwyneb o roi *bryd* ar beth; ymwrthod â pheth.

Diphwys, td. 73, serth, *precipitous;* yma diwaelod. Cymharer *affwys.*

Dîs, disiau, td. 21, 102. Saes. *dice.*

Diymannerch, td. 27, heb ddywedud gair, heb newid geiriau.

> F' athro Gruffudd, o'th guddiwyd
> Mewn arch oer, di-'mannerch wyd.
> *W. Lleyn* (Marwnad Gr. Hiraethog).

Dlêd, td. 63, 83. Dyma gynhaniad y gair yng Ngwynedd, a diameu ei fod yn gywirach na'r ffurf dŷled. Ysgrifennid ef yn y canol oesoedd *dlyet* neu *dylyet.* Yn Llyd. *dle* ydyw, yng Ngwyddeleg *dliged.*

> Dled ar bob dyn, dychryn daith,
> A'r aned yw marw unwaith.
> *S. Tudur* (*Gram.* G.R., td. 366).
> Na, dylêd neu dal ydyw.
> *D. Wyn* (*Blod. Arf.*, td. 80).

Drwp-hwl-rwp, &c., td. 89. Gweler dan T.

Dwned, td. 141, gramadeg, neu egwyddorion ymadrodd.

> Llaw Dduw a fu'n lladd awen,
> Lladd enaid holl ddwned hên.
> *T. Aled* (Marwnad D. ap Edmwnd).

Ond yma golyga ymadrodd yn gyffredinol, sef dadwrdd. Tardd y gair o'r Saes. *donet*, a hwnnw'n tarddu o enw *Ælius Donatus*, gramadegydd enwog yn y bedwaredd ganrif. Petai'r gair yn tarddu'n uniongyrchol o'r enw Lladin,

*Dunawd* a fuasai; ac yn wir fe'i ceir yn y ffurf honno fel enw personol (*Bruts*, td. 118, 141, 200, 237.)

Dwylyw, td. 132, y ddwyblaid. "Os gweddwon yw'r *ddwylyw* sydd i'w priodi," Canonau Eglwysig, 104. Dywed Silvan Evans yn ei Eiriadur mai o *dwy* a *lliw* y tardd; ac y mae Dr. Davies yn ei sillebu *dwyliw* a *dwylyw*. Un peth yn erbyn yr eglurhad yw fod *lliw* yn air gwrywaidd, ac arferir *deuliw* yn gyson gan y beirdd mewn ystyr arall, megys "deuliw sêr," ail i liw'r sêr. Ysgrifenna Ieuan Deulwyn *dwylwy* (*Flores*, dan y pennawd "Anwadalwch"); pa ffurf sydd gywir nid hawdd penderfynu.

Dychan, td. 7; o *dy* negyddol a *cân*; cerdd ogan, difriaeth.

Dyfosiwn, td. 36, Saes. *devotion*, addoliad; td. 14, defodaeth.

Dyfyn, td. 66, 70, gwŷs, *summons*; td. 128, *to summon*; o *dy* a *mynnu*. Gwysio neu ddwyn gerbron ydyw ystyr *dyfynnu* yn wastad yn y canol oesoedd.

> Dyfyn a enfyn Dofydd,
> Bloedd erchyll, rhingyll a'i rhydd.
>
> *Gro. Owen.*

Dynan, td. 34, bychanig o *dyn*.

Dy-rinc td. 101, geiriau dynwared. Gweler dan *Trwp-hwl-rwp*.

Dyri, td. 92, cân ar fesur rhydd. Y mae'n debyg fod yr esboniad cyffredin yn gywir, sef ei fod yn tarddu o'r gair *rhif*, fel y mae'r gair Saes. *rime* (a gamsillebir yn *rhyme*) yn tarddu o'r A.S. *rím*, nifer, o'r un gwraidd a *rhif*.

Ebr, td. 7 &c., Eb, td. 9, &c. Collid yr *r* yn y gair hwn o flaen cydsain fel y'i collir yn y fannod *yr*; am hynny tybiodd ysgrifenwyr y canol oesoedd mai'r fannod *oedd* yr *r* hon, ac ysgrifennant y gair fel dau—*hep yr*, neu *hep y*. Tardd o'r gwraidd cyntefig *sequ*; yn Gymraeg try *s* yn *h* a *qu* yn *p*; ac o'r un gwraidd y daw'r Gr. ἔνι-σπε, dywedodd, y Llad. in-*sex*-it, dywedodd, yr Almaeneg *sagen*, a'r Saes. *say*.—Fick ii. 296. Gwraidd cyffelyb sydd i'r geiriau Gr. ἕπομαι, Llad. *sequor*, canlyn—berfau â ffurf oddefol ac ystyr weithredol; a

thebyg mai'r un ydyw'r gwraidd *hebr-wng* yn Gymraeg. Fe allai mai cymysgu'r ddau air fu achos yr *r* oddefol yn y gair *hebr* neu *ebr*. Ysgrifennai Cynddelw Brydydd Mawr *hebu* a *hebaf*. Gram. Dr. Davies, td. 139. Cyfansoddeiriau o hono ydyw *ateb* a *gohebu*.

Ebwch, td. 56, ochenaid; gall mai *eb* uchod ydyw, gyda'r terfyniad *wch*.

Ehud, td. 18, ffôl. "Yr ehud a goelia bob gair." Diar. xiv. 15.

Eirias, td. 72, gwynias, *white-hot*. O'r gwraidd cyntefig *arg*, disglair, a geir yn *eirian* disglair; ac *arian* (o'r Llad. *argentum*) y metel disglair. Tebyg mai'r un gwraidd sydd yn *eira*, ac yn *arien*, barrug, Gwydd. *arg*, eira.

Eisteddfod, td. 129, *session*.

Elfydd, td. 44. Ysgrifennir hefyd *eilfydd;* cyfartal, hafal; o'r un gwraidd ag *ail*, a'r Llad. *alius*.

Ertolwg, td. 13. Mi dybiwn mai llygriad o *atolwg* ydyw.

Erthwch, td. 93, 120, tuchan. Yr un terfyniad ag a geir yn *ebwch;* nid yw'r gwraidd yn amlwg, ond gall fod yr Ariaidd *pard*. Gweler rhestr Skeat.

Erthwch fel yr hwch yr haf.—*Gro. Owen.*

Eurych, td. 24, gof *aur;* wedi hynny gildiwr, neu dincer.

Euryn, td. 34, darn aur.

Fâd-felen, y, td. 61. Gweler dan Mad.

Ferdit, td. 130, Saes. *verdict*, dedfryd.

Flour-de-lis, td. 16, Ffrangeg *fleur-de-lis* = blodeuyn y lili.

Ffloringod brig ni'm digiai,—
Fflwr-de-lis gyfoeth mis Mai.

*D. ap Gwilym*, cxliv.

Fry, td. 10, 12. Gweler dan y gair *obry*.

Fyddan, td. 61, yn gywir *efyddan*, padell efydd neu bres. Ceir y gair *efydd* mewn Cymraeg hynafol yn y ffurf *emid* (gloss ar *aere*); a'r gair Gwydd. cyfatebol yw *umae*, ond ni wyddys ymhellach o ba beth y tarddant.

Ffafrau, td. 29, Saes. *favours; wedding-favours*, rubanau a wisgir mewn priodas.

Ffardial, td. 102, Saes. *fardel*, sef parsel neu bac.

Gall mai rhai yn cario paciau a olygir. Arferir *ffardial* mewn rhai mannau eto am y *riff-raff*.

Ffest, td. 140, o'r hen Saes. *fest*, A.S. *fæst*, Saesneg diweddar *fast*, diysgog, cadarn.

Fflagenni, td. 24. O'r Saes. *flagon*, ffurf arall ar *flascon*, o'r Lladin isel *flasconem*, fflasg. Llestr a gwddf main i ddal gwirod.

Ffloreg, td. 26, yn fwy cyffredin, *ffiloreg*, *nonsense*.

Ffollt, td. 112, Saes. *fold*, corlan, lloc. *Ffald* yw'r hen ffurf ar y gair yn Gymraeg, o'r A.S. *fald*.

Fforestwyr, td. 19. Saes. *foresters*, ceidwaid coedwigoedd, o'r Lladin isel *foresta*, o'r Lladin *foris*, allan, i maes, *out of doors*. Y mae *fforest* yn air cyffredin yn y Mabinogion.

Ffrae, td. 20. Saes. *fray*, ymrafael, byrhad o *affray*.

Ffristial, td. 27. Sonia D. ap Gwilym am "Chwarae ffristial a thawlbwrdd" (Cywydd ii.); gellid meddwl felly mai ffristiawl y cynhenid y gair y pryd hynny. Dyfynna Pughe o'r un awdwr "Gwerin ffristiol a tholbwrdd;" felly rhyw chwarae tebyg i *chess* oedd, â bwrdd a "gwerin" (*chessmen*). Gweler Tawlbwrdd.

Gibris dy-glibir dy-glabar, td. 122. Geiriau gwneud, yn dynwared mân siaradach; eu ffurf wedi ei hawgrymu gan y Saes. *gibberish*, a'r Cymr. *clebar*.

Godardau, td. 24, llestri yfed. Hen Saes. *goddet*, Ffrangeg *godet*. "A wooden godded or tankard." —Florio, 1597-1603. Diau mai'r gair *tankard* a effeithiodd ar derfyniad y gair yn Gymraeg.

Gorchwylus, td. 74, gwylaidd, swil; o *gŵyl*, *modest*.

Goriadeu, td. 6, h.y. agoriadau. *Agoriad* ydyw'r gair cyffredin yn y Gogledd am allwedd, *key*.

Greddfu, td. 11, dyfod yn ail natur.

Grydwst, td. 19, dadwrdd, cynnwrf. Ar ymyl y ddalen gyferbyn a *murmuro*, Luc v. 30, dyry William Salesbury "grwgnach, grydiaw, ymrydwst." Y mae'n lled debyg nad yw'r gair yn ddim amgen na'r gair *crydian*, *crydwst*, a arferir, yn enwedig yn y ffurf olaf, gan y beirdd. Ymddengys fel cyfansoddair o *cryd*, cryndod, cynnwrf.

Gwadd, td. 38, 39, byrhad o gwahodd, *to invite*.

Gwalfa, td. 103, gorweddfa; o *gwâl* a'r terfyniad *fa*.

Gwallio, td. 27, 79, 137. Gyrru gwall ar; dwyn i warth.

Gwallwfus, td. 12. Gall mai camargraff am *gwallgofus* yw; felly y darllenna Silvan Evans.

Gwenwyn, td. 17, *poison*. Ond yma *spite*.

Gwrêng, td. 106, 143. Yr hen sillebiaeth oedd *gwreang*. Tybir ei fod yn tarddu o *gwr* ac *eang*, a'i fod o'r un ystyr a *freeman*.

Gwdyn, td. 94, lliosog o gwden, *withe*.

Gwrddlosgi, td. 94; gwrdd yw cryf. Newidia Silvan Evans y gair i gwyrddlosgi.

Gwrthrimmyn, td. 90. Gefail, *pincers*. O *gwrth* a *rhimyn*, min. Tybir fod y gair Saesneg *rim* yn tarddu o'r Cymraeg *rhim*.

Gwyddanes, td. 51; Gwyddan td. 55, *witch;* dyry Dr. Davies yr ystyr o "gawres" hefyd dan y gair *gwiddon*. Nid oes gan Dr. Davies ond y ffurf *gwiddon;* ac nis gwn am ffurf heblaw *gwiddon*, *gwiddonod* yng Nghymraeg y canol oesoedd. Sonnir yn y Mabinogion am "y widdon orddu, merch y widdon orwen," td. 123, ac am "widdonod Caerloew," td. 210. Ar lafar gwlad ychwanegwyd y terfyniad *es* er dangos yn eglurach mai benywaidd yw'r gair; a throwyd *o* i *a* fel yn *coranau* am *coronau*. Camsillebiad diweddar yw rhoi *y* yn lle *i* yn y gair; ac o'r camsillebiad hwn tybiwyd fod y gair yn tarddu o wraidd y gair *gwy*bod; gwnaed *gwyddon* yn wrywaidd, ac y mae'r geiriau *gwyddoniaeth*, *gwyddonydd*, &c., i'w holrain i'r cyfeiliornadau hyn.

Hai, hai-ptrw-how, &c., td. 102. Ebychiadau gyrwyr gwartheg.

'Hangle, td. 13, ehangle, lle eang. Tardd *eang* o *ek* negyddol (Llad. *ex*) ac *ang*, cyfyng.

Hedlam, td. 109, llam hedegog, naid ar hedeg. Gweler *llamhedyddion*.

Heirn, td. 90, heiyrn, lliosog o haearn.

Heldrin, td. 72, helbul, trafferth. O *hel*, hela, *hunt;* a *thrin* brwydr neu drafferth.

Henffel, td. 105, 136, hengall; o *hên* a *ffêl*, cyfrwys, call; cymharer *hengraff* td. 29, ll. 26, a *hên iawn* td. 45, ll. 2.

Herwyr, td. 18, *champions*. Ffurfir y gair o *herw* a *gwr*. Yr hen ystyr oedd ffoadur, *poacher*, *robber;* megys,

> Herwr glân, heb alanas,
> Heno wyf i'w phlwyf a'i phlas.

*D. ap Gwilym*, xxiv.

Gall mai effaith y gair *her*, *herio* ydyw'r ystyr o *ryswr* neu *champion*, a ddyry Elis Wyn i'r gair.

Hislan, td. 91, yn fwy cyffredin *heislan* neu *heisyllt;* gweler Dr. Davies. O'r Saesneg *hatchel* yn ei hen ffurf *hetchel*, offeryn a phigau heiyrn miniog at gribo llin.

Hobaid, td. 21, hôb; mesur a arferir eto yn y Gogledd, ond nid yw ogymaint ym mhob man a'i gilydd. Dywed Pughe (1832) "it is a peck in Glamorganshire; four bushels in Caermarthen; and a third of a quarter in Denbigh." Diau fod yr enw'n tarddu o'r Saesneg *hoop* yn yr hen ffurf *hope;* canys arferid y gair am lestr pren wedi ei gylchu (*hoop*) fel *cask*.

Hoewal, td. 146, llonydd? Dywed Dr. Davies mai dwfr arafaf yr afon ydyw hoewal; a thystia Silvan Evans y defnyddir y gair yng Ngheredigion a mannau ereill am ddwfr llonydd; a dyfynna amryw linellau o'r beirdd lle y gellir casglu eu bod yn rhoi'r un ystyr iddo. O'r ochr arall dywed Dr. Davies y myn rhai mai'r dwfr cyflym ydyw'r hoewal, ac felly y dywed Lewis Morris yn ei nodiadau ar Gywydd y Farn Goronwy—"The stream of the sea, or a river." Dyfynna Silvan Evans hefyd dri dernyn sy'n cadarnhau'r syniad hwn; megys,

> Cynt wyf at Ieuan, lle'r a gan-nyn,
> Nag awel o wynt i'r gwiail yn,—
> Ac na hoewal llif trwy ganol llyn,

*L. G. Cothi.*

Y mae yn Llydaweg air *houlenn* (lliosog *houl*) yn golygu ton, neu ymchwydd ton; a gall mai ton yn syml yw ystyr *hoewal.* Ond ai'r un gair ydyw *hoewal* Elis Wyn yma? neu *hoewal* Llywarch ap Llywelyn Prydydd y Moch yn y llinellau hyn?—

> A bid duw yn ganhyad
> Hywel hoewal pob eirchiad.

Ac eto:

> Gwâr Hywel hoewal cyfeddwch
> Gwrdd yn lladd a llafn deu afwch.

Ymddengys i mi mai ansoddair ydyw'r gair yn golygu tirion;—Hywel, mwyn mewn cyfeddach, grymus (gwrdd) yn y frwydr. "Yn ei mynwes hoewal hi," yn ei mynwes dirion hi.

Hopran, td. 66. Saes. *hopper*, math o dwnffed i dderbyn y grawn a felir mewn melin. Gelwid ef felly am y gwneid i'r peirianwaith beri iddo hercian *(hop)* i ysgwyd y grawn i'r gwaelod. Arferir y gair yn ffigyrol yma, fel y gwneir eto ar lafar gwlad, am safn fawr.

Huchen, td. 32, gorchudd, plisgyn. Gall ei fod o'r un gwraidd a *hug*. Cymharer *dichon* a *digon* a arferid yn ddiwahaniaeth yn y canol oesoedd. Gweler Tobit vi. 8, "y dyn a fyddo a'r huchen ar ei lygaid."

Hûg, td. 138. Gorchudd yw ystyr *hug;* gweler uchod. Tybia Silvan Evans mai "gorchudd i dwyllo" a olygir, a chyfeiria at Iob ix. 24; xxiv. 15. Ond tebycach nad yw yma fel yn td. 23, castieu hûg, ond gwall am *hud*.

Hulio, td. 28, 31. Hen Saesneg *hill*, gorchuddio; cymharer *huling* o *hilling*, gorchudd. Yr ymadrodd mwyaf cyffredin y digwydd ynddo ydyw *hulio bwrdd*, Diar. ix. 2, yn Saesneg, "to furnish a table."

Hunfeydd, td. 91, *litters*. Newidia Silvan Evans y gair i *haenfeydd* heb awgrym am y gwreiddiol.

Hustingwyr, td. 95, yn hytrach, feallai, *hustyngwyr*, sisialwyr. Ysgrifennir y ferf yn *hustwng* a *husting* gan D. ap Gwilym.

Hwndliwr, td. 21, 102. Ffeiriwr, neu rapiwr ceffylau. Dengys ffurf y gair nad yw'n air Cymraeg; ond pa beth yw sydd ddirgelwch.

Hwndrwd, td. 6, Saes. *hundred*, cant; yma cwmpeini.

Hwsmyn-tafod, td. 57, llefarwyr. Gweler yr un syniad mai diogyn yw'r llefarwr yn td. 147, ll. 1, 2. *Hwsmon* o'r Saes. *houseman;* arferir y gair am *bailiff* ar fferm. Tebyg mai prif ddynion y tafod a olygir, pen-llefarwyr.

Hyder, td. 111, yn hyder creulonach. Tebyg mai hydr a olygir, ac felly y darllenna Silvan Evans. Ystyr *hydr* yw cryfach, rhagorach. Mewn disgrifiad o frwydr rhwng dau yn y Mabinogion (td. 254) dywedir fod cefnogwyr y naill yn llawen-

ychu pan fyddai hwnnw yn *hydr*, sef yn trechu. O'r gair hwn y daw *hytrach*, sef trech. "Yn hydr creulonach," yn rhagori mewn creulondeb.

Hyd-yd-ydyd-eian, td. 57, gair gwneud yn dynwared swn yr anwydog.

Hyllgrech, td. 138, yn crychu'n hyll.

Interlud, td. 23. Saes. *interlude*, o'r Lladin isel *interludium*. "Yr enw a roddid i gyfansoddiadau dramadig o'r adeg y disodlasant yr hen chwareuon crefyddol (*miracle plays*) hyd gyfnod y ddrama Elizabethan."—*Lloyd's Dic.* Parhaodd y gair yn yr ystyr hwn yng Nghymru hyd amser Twm o'r Nant, ac yn wir pery eto.

Ireiddlyd, td. 70, seimlyd, *greasy*. Awgryma Silvan Evans *ireidlyd?* eithr onid ireiddlyd yw ffurf gyffredin y gair? Gweler D. ap G., clxix. 16.

'Lecsiwn, td. 20. Saes. *Election*.

Lifrai, td. 11, Saes. *livery*, Ffr. *livrée*, Llad. isel *libero*, rhoddi'n rhad. Arferir y gair yn Gymraeg mor gynnar a'r bedwaredd ganrif ar ddeg:

Pwy mewn gaeaf a gafas
Fis Mai yn dwyn lifrai las.

*D. ap Gwilym*, cxxxii.

Lusenau, td. 19, *elusen* neu *alusen*, cardod. Tardd trwy'r Llad. o'r Groeg ἐλεημοσύνη, tosturi. O'r un gair y tardd y Saes. *alms*.

Lwcusach, td. 67, mwy ffodus. Ffurfiwyd *lwcus* yn Gymraeg o *lwc*, Saes. *luck*.

Llamhedyddion, td. 123. Ymddengys fod Elis Wyn yn tybied mai o *llam* a *hedeg* y ffurfiwyd y gair hwn, a gall mai hyn a awgrymodd iddo'r gair grymus *hedlam*, td. 109. Ond nid oes a wnelo hedeg a'r gair, oblegid *llemhidydd* oedd yr hen sillebiaeth, "Try chann erw a lammei yny (h.y. yn ei) un llam—penn llemhidydd Iwerddon oedd hwnnw."—*Mab.* td. 110.

Llanastr, td. 57, anhrefnus, ar draws ac ar hyd, hyd lawr. (Gall ei fod yn tarddu o'r gwraidd *lan*, llawr, Llad. *planus*.)

Llaryeiddio, td. 125; llaryaidd, td. 140. Hen sillebiad y canol oesoedd pan arferid *y* am *i* gydseiniol. Tardd y gair *llary* o'r Lladin *largus*, haelionus, a dyna ystyr y gair yn yr hen amseroedd. Wedi

hynny daeth *llariaidd* i olygu tirion, tyner; ac yma tynheru, neu ddyfod yn llai ffyrnig a feddylir.

Llechwrus, td. 136, ystrywgar, *sly; llechwr, llechgi*, yw *skulker, sneak*, o *llechu*.

Lledfennau, td. 90. Lledfen yw peth wedi ei ledu'n deneu, neu *flat*. Ffurfir y gair o *lled;* ac o'r un gwreiddyn a *lled* y tardd *llydan*, a'r Groeg *πλάτος*, ac, mae'n fwy na thebyg, y Saesneg *flat* (drwy'r Scandinavian.)

Llefys, td. 146, y trydydd person unigol presennol o *llafasu*, "meiddio," Llydaweg *lafuaez*, Cernyweg *lavasy*, Gwyddeleg *ro-laimiur*.

Llen-gêl, td. 9, llen yn celu rhywbeth, gorchudd.

> Mae llen gêl ar wallt melyn,
> Mae ar y gwallt farmor gwyn.
> *Lewis Glyn Cothi*, td. 38.

Llochi, td. 72, llochesu, derbyn, cynnwys; o'r un gwraidd a *lloches*.

Llogwyr, td. 19, rhai'n rhoi arian ar log.

Llumman, td. 7. Tybiaf mai camgymeriad Elis Wyn yw rhoi *u* yn sill gyntaf y gair hwn. Noeth *lymyn* a ddywedir yng Ngwynedd heddyw. Gall mai noeth *lyman* oedd y ffurf hynaf; o'r gair *llwm* gyda'r un terfyniad ag a geir yn *tru-an*.

Llutteiaeth, td. 63, camargraff am *llatteiaeth*, neges garwriaethol. *Llattai* y gelwid un fai'n gennad rhwng cariadau. Llunnir y gair o *llad*, rhodd, anrheg, a *hai*, terfyniad yn golygu gweithredwr; megys *cynutai*, un yn hel tanwydd, o *cynnud*, tanwydd. Ymddengys felly mae swydd y *llatai* ar y dechreu oedd cludo anrhegion i'r un a gerid.

Llyfon, td. 119, llwon. *Llyfon* ydyw'r lliosog arferedig yng Ngwynedd eto; ond ymddengys mai drwy gamgydweddiad y ffurfiwyd ef, fel ped fai'r unigol yn *llwf*. Dengys y Gwyddeleg *luge* nad oes gan yr *f* yn briodol ddim lle yn y gair.

Llythyr-cymmun, td. 28, yn gywir *llythyr cymmyn*, ewyllys. Tardd o'r Lladin *commendo*; ac nid oes berthynas rhyngddo a *chymun*, gair sy'n tarddu o'r Lladin *communio*. Ceir *cymyn* yn gyfansoddedig yn y gair *gor-chymyn*.

Mâd-felen, td. 61, y fad felen, y pla melyn, *the yellow plague;* y pla fu'n difrodi'r cenhedloedd yn y chweched ganrif. Yn y drydedd gyfres o drioedd

y Myfyrian, rhif 12, sonnir am dair haint echrys Ynys Prydain; "Ail Haint y Fad felen o Rôs, ac achos celaneddau lladdedigion y bu honno, ac od elai neb o fewn eu gwynt cwympo'n farw'n ddioed a wnelai." Dywed rhai llawysgrifau o Frut y Brenhinoedd mai *gweled* y fad felen "drwy dwll dor yr eglwys" yn ymyl Deganwy a wnaeth Maelgwn (Myv. ii. 359). Gwelir fod y pla wedi ei bersonoli fel rhyw greadur yn y dyfyniad olaf. Dywed Dr. Davies fod rhai'n tybio mai *Basiliscus* ydyw'r fad felen; ac eglura'r gair hwn fel "Sarph a ladd â'r anadl ac â'r golwg." Hawdd dirnad pa fodd yr elai enw'r creadur dychmygol hwn yn enw ar bla mor heintus. Y mae'n lled sicr mai enw rhyw anifail gwyllt oedd *mad* ar y dechreu; cymharer Gwydd. *math*-gamain, arth; Cymr. *madawg* llwynog, *maden* llwynoges (Fick, Vgl. ii. 200).

Maeden, td. 33, enw a arferir yn amharchus am fenyw. Gwydd. *maighdean*, geneth, morwyn. Y ddau feallai o'r Saes. *maiden*, A.S. *mægden*.

Maelwyr, td. 19, masnachwyr; o *mael*, ennill.

Maentumio, td. 31, cynnal; o'r Ffr. *maintenir* yn hytrach na'r Saes. *maintain*. Cymharer *rheswm* o'r Ffr. *raison*.

Maersiandwyr, td. 20, yn fwy cyffredin ac yn gywirach *marsiandwyr*, fel yn td. 57, ll. 27; hen Ffr. *marchand*. Yn Saes. *marchant* yr ysgrifennid ac y seinid ef gynt.

Mall-gyrch, td. 73; cyrch y Fall, trigias y cythreuliaid; gair a gyfansoddodd Elis Wyn.

Marchog Sir, td. 7. Cyfieithiad o *Knight of the Shire*, yr hen enw ar Aelod Senedd dros sir, *nid* dros fwrdeisdref.

Mastiff, td. 34, Saes. *mastiff*, costog.

Medleiwr, td. 74, *meddler;* wedi ei ffurfio o *medlai*, a hwnnw o'r Saes. *medley*, gair yn tarddu trwy'r Ffr. o'r Llad. Is. *misculare*, cymysgu.

Merbwll, td. 100, yn fwy cywir *mârw-bwll*, pwll o ddwfr llonydd neu farw. Cymh. *marw-ddwr*. Gweler *merllyn*.

Merllyn, td. 138, o *marw* a *llyn*. Troir yr *a* yn *e* gan yr *y* ddilynol, fel yn *gwlad*, *gwledydd*. Gall mai'r

*e* yn y gair hwn a barodd droi *marwbwll* yn *merbwll;* gweler uchod.

Mindlws, td. 26, o *min* a *tlws*. Arferir y gair gan Dr. J. D. Rhys, "gwynn eyn byd ryw rai o honom fedru bod mor findlws a chymrud arnam ddarfod i ni o gwbl abergofi y Gymraec a medru weithion ddoydud Saesnec."—*Gram.* At y Cymry.

Môl-glafaidd, td. 55. Môl ydyw gwlybyr wedi ceulo yn y llygad.

Murddyn, td. 14, 20, hen adeilad adfeiliedig; (? *mur* a *din*).

Mursen, td. 14, "*A coy dame*," Dr. Davies. (? Saes. *virgin*).

Mwgwd, td. 141, gorchudd dros y llygaid neu'r wyneb.

> A'n pennau yn cau mewn cwd,
> Am ein magu mewn mwgwd.
> *S. Tudur* (C. i Dr. Morgan.)

Mwrllwch, td. 13, 56, tarth tew.

Mygyn, td. 143, *smoke;* bychanig o *mwg*.

Obry, td. 10, 13, i lawr, isod. Cyfansoddir ef o *o* a *bry*, gwraidd y gair *bryn*. Saif yr ymadrodd gwrthgyferbyniol *fry* am *i fry* sef *i fyny(dd)*. Ceir y gair yn y ffurf *bre* mewn enwau lleoedd, *Moelfre*, &c.

Ossio, td. 135, tueddu, gogwyddo, gwneud osgo at rywbeth.

Paladr, td. 15, coes gwaewffon, cyff coeden. Paladr o ddyn, dyn corffol. Yn y lliosog arferir *pelydr* am *rays of light*, td. 11. Gwydd. *celtair* gwaewffon, (Cymr. *p*=Gwydd. *c*.)

Palff, td. 97. dyn praff, llydan; yng Ngwynedd heddyw, *pwlffyn;* Saes. *bluff*, a hwn fel y tybir o'r Du. *blaff*, llydan.

Pastai, td. 8, Saes. *pasty*, drwy'r Ffr. a'r Llad. o'r Gr. *παστή*, pryd o fwyd.

Peirie, td. 110, h.y. *peiriau*, y lliosog o *pair*, crochan.

Pelwyr, td. 19, chwareuwyr pêl.

Pendifadu, td. 43, 128, pensyfrdanu, ffoli, hudo. "Da" ydyw ystyr *mad;* a *di-fad-u* ydyw drygu, yspeilio. Cymharer *am-ddi-fad*. Ar ol *n* try *dd* yn rheolaidd yn *d* yn ol, megys yn *bendith* am *benddith;* ac y mae sillebiaeth y Bardd Cwsc yn berffaith gywir.

Pensaer, td. 50, *architect*. Ni fuasai raid i wyr y papurau newyddion ddyfeisio'r gair bastardaidd *archadeiladydd* am *architect*, oblegid yr oedd eisoes hen air Cymraeg da am dano—*pensaer*. Gwelir ef yn *Llyfr yr Ancr*, td. 76, fel cyfieithiad o'r gair Lladin *opifex*, ac yn y Testament Newydd (1 Cor. iii. 10), fel cyfieithiad o'r gair Groeg, Ἀρχιτέκτον, *architect*.

Perwigau, td. 41, *periwigs*, gwallt gosod. Y gair Saes. *periwig*, o'r Ffr. *perruque*, o'r Eidaleg *parruca*, o *pelo*, Llad. *pilus*, gwallt.

Pettwn, td. 11, byrhad o *ped fawn*, h.y. *pe bawn*; felly *pettei*, td. 39, am *ped fai*, &c.

Phansi, td. 6, dychymyg. O'r Saes. *fancy*. Tardd drwy'r Ffr. a'r Llad. o'r Gr. φαντασία.

Poethfel, td. 39. Tybia Silvan Evans mai cyfnewidiad yw'r gair hwn o *poethwal*, gair a arferir yn Lleyn am "oddaith a roir mewn eithin, neu rug, neu'r cyffelyb." Tebycach o lawer mai'r gwrthwyneb sydd wir; canys newidir pob *e* ddiweddol i *a* yn Lleyn. Ymddengys fod yna hen wraidd Celtaidd *bel* yn golygu goleu neu dân. Gwydd. *bel-tene*, enw ar galanmai, am y byddid yn cynneu tân mawr y diwrnod hwnnw. Cymharer hefyd yr A.S. *bæl*, tân (Fick, ii. 164.) Gall mai cyfansoddair o *bel* ydyw *ufel*. Pa fodd bynnag, fe gytunir a Silvan Evans nas gall *poethfel* yn hawdd fod yn dalfyriad o *boeth ufel*.

Polioni, td. 90, *to stake*, trywanu â pholion.

Porth, td. 63, porthladd; o'r Ladin *portus*. Rhyfedd fel y mae'r gair hwn a'r gair *porth*, drws, o'r Llad. *porta*, wedi newid eu rhyw yn Gymraeg. Yn Llad. y mae'r cyntaf yn wrywaidd a'r ail yn fenywaidd.

Potecariaid, td. 19, 21, &c. Saes. *Apothecaries*, fferyllwyr. Tardd y gair Saesneg drwy'r Lladin o'r Gr. ἀποθήκη, *shop*, ystordy.

Prolog, td. 48, rhagymadrodd; o'r Saes. *prologue*, a hwnnw drwy'r Ffr. a'r Llad. o'r Gr. πρόλογος, rhagymadrodd.

Pryfetta, td. 122, hel pryfed.

Pry'r bendro, td. 59. Tebyg mai pryf clustiog (*earwig*) a feddylir.

Phlêm, td. 65, Saes. *phlegm*, llysnafedd. Tardd y Saes. drwy'r Ffr. a'r Llad. o'r Gr. *φλέγμα*.

Redi, td. 74, 75, Saes. *ready*.

Rhaiadydd, td. 86, 88, lliosog wedi ei ffurfio o'r unigol llafaredig *rhaiad*, er fod Elis Wyn ei hun yn sillebu'r unigol yn gywir, *rhaiadr*, td. 88. Gwydd. *riathor*.

Rheibwyr, td. 21, yspeilwyr. Tardd *rhaib* o'r Llad. *rapio*, cipio neu ddwyn trwy drais.

Rhusio, td. 145, rhwystro, dal yn ol; "dilestair fydd dy hynt ac ni russia dim rhagot," h.y., ni ddaw dim i'th oedi.—*Mab.* td. 3. Yna ymdroi, petruso, "pwy a rusiei," pwy a oedai, pwy a betrusai?

Rhwymedi, td. 21, Saes. *remedy*, yn y gyfraith, "y modd a ddarperir i adfer hawl, neu i roi iawn am ei dorri," Lloyd's *Dic.* "Heb nac iawn na rhwymedi," heb nac iawn na sicrwydd am iawn. O'r dyb fod cysylltiad rhyngddo a'r gair Cymraeg *rhwymo* y tarddodd y cynhaniad a'r sillafiad *rhwymedi*.

Rhygnu, td. 68, rhwbio; yma "ar y tannau," medd Silvan Evans. Ond arferir *rhygnu* yn gyffredin ar lafar am barhau i gadw'r un sŵn o hyd, neu i swnian am yr un peth.

Rhygyngog, td. 14. *Rhygyng* ydyw symudiad ceffyl arafach na throtian. "Ynteu a gymerth ryging gan i farch; ac ef a debygei, er arafet y cerddei i farch yr ymorddiweddai a hi."—*Mab.* td. 10. "Rhygyngu wrth gerdded," Esaiah iii. 16, cerdded yn araf, ddefosiynol, falch; yn Saesneg, "mincing as they go."

Rhwd, td. 47, wyth lath; Saes. *rood*, yr un gair a *rod*. Fel mesur o hyd (nid arwynebedd) 5½ llath a olyga *rod* neu *rood* yn Saesneg.

Saig, td. 23, 43, dysglaid o fwyd, cwrs ar ginio.

Sawdwr, td. 21, milwr. O'r Saes. Can. *soudiour*, o'r hen Ffr. *soudoier*, *souldoyer*, o'r Llad. Is. *soldarius*.

Scafell, td. 9, ael, *shelf*; o'r Llad. *scabellum* neu *scamellum*, bychanig o *scamnum*, mainc. Ysgrifennid y gair yn *scamell* yn Gymraeg yn yr wythfed ganrif, fel eglurhad ar y gair Lladin *tripus*, stôl drithroed (*Mart. Cap. Gloss.*) O fainc daeth i olygu *shelf*, ac arferir ef yn gyffredin yn awr am

ael,—"Edrych dan ei sgafell." Dyna'r ystyr yn td. 13.

Sciabas, td. 58, a ysgrifennir hefyd *siabas*. O'r Saes. *scab*, crachen, o'r hwn y tardd hefyd y gair Saesneg *shabby*. "Rhyw sciabas deganau,"—rhyw grach deganau, neu fan deganau diwerth, rhyw sothach.

Scithell, td. 124. Ysgrifennir ef *ysguthell* gan Pughe a Silvan Evans, a thybiant mai gwibiwr ar frys a olygir. Cymh. Saes. *scud*, *scuttle*.

Scithredd, td. 117, ysgythredd, dannedd mawr. Tybiaf fod *ysgwthr* yn tarddu, er nad yn rheolaidd, o'r Llad. *sculptura*. Hen ystyr *ysgythru* ydyw cerfio neu naddu, yna torri'n arw, *hew*, *hack*. Creigiau *ysgythrog*, creigiau geirwon.

Scrubliaid, td. 50, anifeiliaid dof. Genesis xlv. 17, &c. O'r Llad. *scrupulum*. Yr oedd y gair hwn yn Llad. yn enw ar ddernyn o arian. Parhaodd y Cymry yn ddiau i arfer da byw am arian bath yn hir ar ol ymadawiad y Rhufeiniaid, ac felly daeth y gair Lladin am arian yn air Cymraeg am dda byw neu stoc fferm. (Loth, *Les Mots Latins*, d.g. *ysgrubl.*) Cymh. "ugeinmarc neu ganmuw" (can buwch.) D. ap G., cxlvi. Cymharer hefyd y Llad. *pecunia*, arian, o'r gair *pecus*, gwartheg. (Gweler *Sartor Resartus*, Pop. Ed. p. 27).

Scweir, td. 97, Saes. *squire*.

Scwrs, td. 92, scwrsio, td. 111, 129, ffrewyll, ffrewyllu, o'r Saes. *scourge*. Benthyciwyd y gair i'r Gymraeg yn gynnar, oblegid fe geir *ysgyrsseu* yn *Llyfr yr Ancr* (1346), td. 54.

Scwtsiwn, td. 18, y darian y llunir arfau bonedd arni. O'r Saes. *scutcheon*, *escutcheon*, trwy'r hen Ffr. *escusson*, o'r Llad. Isel *scutionem*, o'r Lladin *scutum*, tarian.

'Scyrlwgach, yscyrlwgach, td. 34, clecian.

'Scyrnygu, ysgyrnygu, td. 33, dangos dannedd. O'r gair *asgwrn* y tardd.

Sechwch, td. 121. O *secki*, gosod neu wthio i rywle. Ar lafar Ceredigion *seci*. Tardda Dr. Davies a Dr. Pughe y gair o *sack*, ond y mae'r tarddiad hwn braidd yn amheus.

Selu, td. 16, syllu, craffu. Y mae'n ddigon posibl ei fod o'r un gwraidd a *syllu*; Gwydd. *sellaim*, Llyd.

*sellet*, edrych. Arferir y gair gan William Lleyn yn ei Awdl i ferch, *Gorchestion*, td. 262:

**Selu, annelu yr ael yn wiwlon.**

Siarpwyr, td. 19. Saes. *sharpers*, rhai *sharp* neu graff mewn bargen, twyllwyr castiog.

Siccio, td. 94, golchi neu wlychu, medd Dr. Davies; eithr *sucion* ydyw dwfr budr ar ol golchi, yn fwy priodol *sucion*, o *sug*, oblegid ar lafar fe droir *u* yn *i* o flaen *i* arall; megys *tostirio* yn lle *tosturio*, &c. Ysgrifennai Dr. Morgan *iniawn* am *uniawn*, ac ysgrifennir *gofidio* am *gofudio* fyth. Diau mai gwasgu'r *sicion* allan o honynt a feddylir yma.

Siêl, td. 34. Saes. *jail*, carchar, medd Silvan Evans.

Siffrwd, td. 23, yr un gair a *sibrwd*, medd Dr. Davies; gwneud swn a'r disiau a'r cardiau.

Siglen, td. 95, cors sigledig, neu donnen.

Sîl, td. 19, hil. *Síl* ydyw'r gair yng Ngwyddeleg. Try *s* wreiddiol yn *h* yn Gymraeg yn gyffredin; pa un ai wedi ei fenthyca o'r Wyddeleg y mae *síl*, ai wedi cadw'r *s* yn Gymraeg ochr yn ochr a'r ffurf fwy rheolaidd *hîl*, nid hawdd penderfynu.

Sipsiwn, td. 6, o'r Saes. *Egyptians*, Saes. diweddar *Gipsies*, am y tybid mai Eifftiaid oeddynt. Eithr profa'u hiaith mai llwyth o Indiaid ydynt. Ymddengys iddynt dreiddio i Ewrop yn y ddeuddegfed ganrif a'r drydedd ar ddeg. Profa Miklosish oddiwrth eu geiriadaeth iddynt basio yn olynol drwy Bersia, Armenia, Groeg, Rumania, Hungaria a Bohemia, ac yna ymwasgar dros wledydd Ewrop. (Sayce, *Science of Lang*. ii. 76).

Siri, td. 36, neu *sirif* o'r Saes. *sheriff*.

Siwglaeth, td. 23, gwneud castiau hud, *conjuring*. Tardd o'r Saes. *juggler*, gair yn tarddu trwy'r hen Ffr. *jogleor* o'r Llad. *joculator*, o *jocus*, *a joke*.

Soc, soc, dy gloc, dygloc, td. 61. Geiriau dynwared. Cymharer *hydyd-ydyd-eian*, &c.

Sorod, td. 3, gwaddod, *dregs*.

Splent, td. 117, 124, 126, darn yn hollti ymaith. O'r Saes. *splint* yn ei hen ffurf *splent*. Tardd o'r Swed. *splinta* o'r un gwraidd a'r Saes. *split*.

Stent, td. 97, Saes. *stent*, *extent*. Golygai brisiad ar ystad er mwyn trethiant; ond ymddengys fod Elis Wyn yn ei arfer am yr ystad ei hun.

Strlp, td. 11, c.a. fel yr awgryma Silvan Evans, am *strip*, Saes. *strip* neu *stripe*.

Swbach, td. 63, bychanig o *swp*, rhyw sypyn bychan.

Swrffedig, td. 145, o'r Saes. *surfeit*, gormodedd o rywbeth nes peri i un alaru arno.

Swyn-serch, td. 26, *love-charm*.

Synio, td. 86, swnio; yr *w* yn treiglo'n rheolaidd i *y*.

Syre, td. 34, Saes. *sirrah*, sef "syr," gyda dirmyg. Tardd y gair *sirrah*, drwy'r Icelandig *síra*, o'r hen Ffr. *sire*, yr un gair a'r Saes. *sir* neu *sire*. Saif yr hen Ffr. *sire* am *senre*, o'r Llad. *senior*.

Syrn, td. 101, 103, gair a arferir i gryfhau ansoddair. Tebyg mae'r un gair a *swrn* yw.

Sywaeth, td. 35, ysywaeth; gweler dan Y.

Tabler, td. 23, bwrdd chware, *back gammon* neu *draughts*. Saes. *tables*.

Tacluso, td. 26, trefnu, cyweirio; o *taclus*, *taclau*, o'r Saes. *tackle*.

Tamchwa, td. 86, 110, 112, llygriad o *tanchwa*. Nid yw'r *n* yn cael ei chyflawn sain o flaen yr *chw;* y mae mor debyg i *m* ag i *n*, ond y mae'n debycach i *ng* nag i'r un o'r ddwy. Pa fodd bynnag, nid *dam-chwa* ydyw, fel yr awgrymir gyntaf gan Silvan Evans; oblegid pe felly, fe ddechreuasai ag *dd* ym mhob un o'r tri lle hyn. Cymharer tambaid, td. 46, ll. 17; bembwl, td. 61, ll. 4.

Tarennydd, td. 115, twmpathau eithin, ysgall, mieri, drain, a'r cyfryw. O'r un ffurf gyntefig y daw y gair Gwyddeleg *trâinín*, gwelltyn, y gair Sanscrit *tṛna*, gwelltglas, a'r gair Saes. *thorn*, draenen. O'r un gwraidd (*tar*) hefyd y tardda'r gair Cymraeg *taradr*, ebill.

Tawlbwrdd, td. 27, bwrdd chware; o *tafl* (Llad. *tabula*) a *bwrdd*, dau air o'r un ystyr; cymharer *bwystfil*, *bwyst* o'r Llad. *bestia*, a *mil*, gair Cymraeg yn golygu'r un peth. Y mae hyn yn debycach na'i fod yn tarddu o'r gair *taflu*. Digwydda'r gair yn aml yn Nghyfreithiau Hywel, a *tawlbwrth* neu *tawlbord* y sillebir ef yn wastad, nid *tawlfwrdd* fel y ceisiodd Pughe ei gywiro. Yr oedd yr Ynad Llys a'r Bardd teulu i gael tawlbwrdd o asgwrn morvil gan y brenin. Chwareuid y chware âg un ar bymtheg o "werin wynnion"

yn erbyn brenin, ac wyth o "werin" liwiedig. —*Anc. Laws*, td. 94, 96.

Tês, td. 5, gwres. Gwydd. *tes*, Llyd. *tez*. O'r gwraidd *te(p)*, o'r hwn y tardd y gair *tân*, ac hefyd y gair Llad. *tepor*, gwres.

Tinbenstrellach, td. 114, pendramwnwgl. Y mae strellach yn debyg i ddynwaredair.

Tollgraig, td. 99; pan arferir *twll* fel ansoddair am dyllog, y ffurf fenywaidd arno ydyw *toll; tollgraig* neu *graig doll* ydyw craig dyllog.

Tonn, td. 152, ffurf fenywaidd y gair *twnn*, sef toredig, ysig. Arferir y gair yn aml gan Oronwy:

> Ymddifad ei thad, a thwnn
> Archoll yn ei friwdoll fronn . . .
> A golyth yw y Galon
> Erddi, ac am dani'n donn.
>
> (*Mar.* Elin ei ferch).

Trâd, td. 119, Saes. *trade*, masnach.

Traean, td. 135, y drydedd ran, *one third*.

Trosfa gyffredin, td. 19, tir cyffredin neu dir cyd i droi (trosi) anifeiliaid iddo.

Trwnc, td. 98. Saes. *trunk*, corff heb aelodau.

Trwp, td. 41, torf; o'r Saes. *troop*, o'r Ffr. *troupe*, Llad. Isel *tropus*. Tybir mai o'r Llad. *turba* y tardd.

Trwp-hwl-rwp-rap dy-rwmp dy-damp, td. 89. Geiriau dynwared. Gweler dan soc, soc.

Tryncîau, td. 57. Saes. *trunk*, cist.

Trythyllwch, td. 23. Ysgrifennid *drythyll* yn gyffredin â *d* yn y canol oesoedd; a'i ystyr oedd ysbrydol, llawen, dedwydd. Ystyr *drythyllwch* oedd llawenydd, mwynhad, &c.; ond yn ddiweddarach, daeth i'r gair, fel yn y fan hon, ystyr ddrwg, megys mwyniant pechod.

Trywyr, td. 111, *triwyr*. Ysgrifennir tri weithiau'n *try* mewn gair cyfansawdd; cymh. *trydydd*.

> Tair awen oedd i'r triwyr
> A fai les i fil o wŷr.
>
> *T. Aled* (*Mar.* D. ab Edmwnd).

Tud, td. 80, gwlad, tir. Ystyr wreiddiol y gair oedd *cenedl*, a dyna ystyr *tud* eto yn Llydaweg, a'r gair cyfatebol *túath* yn Ngwyddeleg. O'r *genedl* daeth yn Gymraeg i olygu'r wlad. Ceir y gair yn hen enwau Gâl, megys Teuto-matus. Yn hen ieith-

oedd Gogledd yr Eidal ceir, Umbrian, *toto*, gwladwriaeth, Oscan, *túotú*, pobl; ac yng Ngothig, *thiuda*, pobl.

Tygaswn, td. 101, tebygaswn. Arferid yn gyffredin ysgrifennu *tygaswn*, *tygasai*, *tygesynt*, &c., gynt am *tebygaswn*, *tebygasai*, *tebygesynt*, &c.

> Gwae a'th weles, dygesynt,
> Yn gyfannedd gyntedd gynt.
>
> *D. ap Gwilym*, cxl.

Gweler *Gramadeg* Dr. Davies, td. 136, 137.

Ucheldrem, td. 14, yn tremio neu edrych yn uchel.

Un o'n, td. 73. *Uno'n* neu *unon* a ddylasai fod (gweler td. 94, ll. 13; td. 134, ll. 25; td. 137, ll. 4), sef *unofn*. Gair cyfansawdd o *un* ac *ofn*; a seinir ef yn un gair, fel geiriau cyfansawdd ereill. Am goll yr *f* cymharer y gair *eon* am *eofn*, neu *eh-ofn*, Galeg *Exobnus*.

> Ni adfer Ner amser oes
> Rhed einioes, nid rhaid unon.
>
> *Gro. Owen* (*Mar.* L. Morris).

Unud, td. 50, yn gywir *unyd*, neu yn hytrach *un-hyd*; yn ei *hyd*, yn llwyr drosti.

Ustusiaid, td. 19. Saes. *justices*, ynadon heddwch.

Walddiadlam, y, td. 69, 81. O'r Saes. *wall* y tardd y gair *gwàl*, nid yn uniongyrchol o'r Lladin *vallum*; canys *gwall* a fuasai pe'i benthycasid yn y cyfnod Rhufeinig. Gweler ymhellach dan y gair *diadlam* uchod.

Wâr, td. 102. Saes. *ware*, nwyddau.

Weir, td. 34. Saes. *wire*.

Witsiaid, td. 7. Saes. *witches*, gwiddonod.

Yngwrth, td. 127, annisgwyliadwy. Gweler y nodiad td. 167 uchod.

Ymddanheddu, td. 36 (o *dannedd*), ymdaeru, cweryla.

Ymddugwd, td. 24, yn hytrach, ymddygwd, *struggle*; o *ym* a *dwg*, gwreiddyn y gair *dwyn*.

> O frwd ymddygwd ddigon—y diangodd;
> Gwen Nef a gafodd gan Naf gyfion.
>
> *Gro. Owen* (*Mar.* L. Morris).

Ymgroesi, td. 83, 131, croesi ei hunan, sef gwneud arwydd y groes arno'i hunan; gwneid hynny gynt i gysegru adduned, yn gyffredin adduned i ymladd yn rhyfeloedd y groes. Yma, ac yn gyffredin yn

yr oesoedd diweddar, adduned i beidio troseddu mwy.

Mwya gras yw ymgroesi.—*S. Tudur.*

Ymharneisio, td. 47, gwisgo'i arfogaeth; o'r Saes. *harness.*

Ymleferydd, td. 46, siarad ar draws eu gilydd. Canodd rhyw hen fardd fel y canlyn, a dyfynnir y llinellau gan ddysgawdwyr rheolau barddoniaeth o Simwnt Fychan i lawr, fel engraifft o'r bai "unig a lluosog ynghyd;" ond y mae'r llinellau'n Gymraeg di-fai;—

Mil fawr yn ymleferydd
O daranau sugnau sydd.

Yrwan, td. 9, &c. Llygriad o *yr awran;* bychanig o *awr* ydyw *awran.* Ysgrifenna Elis Wyn hefyd *yr awron*, td. 17.

Yscethrin, td. 87, 97, 150. Dywed Dr. Pughe mai "hyrddiol" ydyw'r ystyr; ac felly Silvan Evans ar ei ol. Tebycach gennyf mai blaenllym a feddylir, o *cethr*, pig llym, neu hoelen finiog; o'r un gwraidd a'r Llad. *centrum*, a'r Gr. *κέντρον.* Cymharer td. 107, ll. 1, lle nad yw hyrddiol yn ystyr cymwys iawn, a llai cymwys fyth yw yn td. 113 am garchar.

Yscogyn, td. 14, creadur balch. O'r gair *ysgog*, oherwydd ysgogiad y cyfryw un wrth gerdded.

Yscowl, td. 14, Saes. *scold*, gwraig anynad.

Yscwîr, td. 25, ysgwâr saer. O'r hen ffurf Saesneg *squire* (Shakespeare, L. L. L. v. 2, 474), a hwnnw'n tarddu o'r hen Ffr. *esquierre*, ffurf arall ar yr hen Ffr. *esquarre.* (Skeat.) Arferir y gair gan Elis Wyn yn ei Ragymadrodd i R.B.S. "Dyma i titheu Scwîr neu *Reol Buchedd Sanctaidd.*"

Ysmala, td. 147, *fickle.*

Yspleddach, td. 71. Yn ol Dr. Davies, Walters, a Richards, chware neu ddifyrrwch a olygir wrth y gair; yn ol Pughe yspail neu ysglyfaeth, heb ddim sail, hyd y gwelaf, ond tebygrwydd y gair i'r gair yspail. Nid ymddengys i Silvan Evans fod yr un o'r ystyron hyn yn gweddu i'r lle hwn, a thybia mai cyfathrach neu *alliance* a olygir, ar ba sail nis gwn. Yn sicr y mae ystyr Dr. Davies yn agosach

i'w le na'r damcaniadau hyn. Arferir y gair yn awr am ryw riolti *(royalty?)*, sef gwleddoedd, a chwareuon a difyrrwch mawr; ac y mae'r ystyr yn gweddu yn burion yma.

Ysplenydd, td. 5, yn fwy cywir, *ysplennydd*, disglair. O'r Llad. *splendidus*.

Ystumieu, td. 26, lluniau, munudiau.

Ysywaeth, td. 11, fel y mae gwaetha'r modd. Cyfansoddedig o *ys yw waeth*. Cymharer *yswaetheroedd* am *ys waeth yr oedd*. Yn Ystoria Carola Magno, td. 30, ceir *gwaethiroedd duw (dyw*, dydd), h.y., *gwaeth yr oedd y dydd*, yn Saes. *woe worth* (= *was*) *the day*.

Aeth Herast, yswaetheroedd!
Yn drist; dda giniawdre oedd.

*L. Glyn Cothi*, td. 38.

# TALFYRIADAU.

*Anc. Laws. The Ancient Laws and Institutes of Wales*, dan olygiaeth Aneurin Owen. Cyhoeddwyd hwynt yn ddwy gyfrol gan y *Commissioners of Public Records*, 1841.

Arg., argraffiad.

A.S., Anglo-Saxon.

*Bruts*, *The Text of the Bruts from the Red Book of Hergest*, Rhys and Evans. Oxford, 1890.

C., Cywydd.

Can. oes., canol oesoedd.

Cymh., cymharer.

Cymr., Cymraeg.

Du., *Dutch*, Is-Ellmyneg.

Fick, *Vergleichendes Wörterbuch der Indo-Germanischen Sprachen;* 4ydd arg., Göttingen, 1894. Ymdrinia'r ail gyfrol a'r ieithoedd Celtaidd; ysgrifennwyd hon gan Dr. Whitley Stokes, yr ysgolhaig Gwyddeleg enwog.

*Flores*, *Flores Poetarum Britannicorum;* casgliad o ddyfyniadau o weithiau'r beirdd a wnaed gan Dr. John Davies, Mallwyd, ac a argraffwyd gyntaf yn 1710, ac eilwaith gan y Parch. Robert Jones, Rotherhithe, yn 1864.

Ffr., Ffrangeg.

*Geiriadur* Dr. Davies. Geiriadur Cymraeg Ladin a Lladin Gymraeg Dr. Davies, Mallwyd, a gyhoeddwyd yn 1632, dan y teitl *Antiquæ Linguæ Britannicæ ... Dictionarium Duplex.*

Geiriadur Dr. Murray. *A New English Dictionary on Historical Principles.* Oxford, 1888—. Geiriadur mawr y *Philological Society.* Golygwyd y gwaith ar y dechreu gan Dr. J. A. H. Murray, ond rhennir y gwaith yn awr rhyngddo ef a Mr. Henry Bradley. Cynnorthwyir hwynt gan oddeutu 30 o is-olygwyr a thros 800 o ddarllenwyr.

Gorchestion, *Gorchestion Beirdd Cymru* (dan olygiaeth Rhys Jones o'r Blaenau). Amwythig, 1773.

Gr., Groeg.

*Gram.* Dr. D., Gramadeg Dr. Davies, Mallwyd, a ysgrifennwyd yn Lladin ac a gyhoeddwyd yn 1621, dan y teitl *Antiquæ Linguæ Britannicæ...Rudimenta.* Dyfynnir o'r ail arg. a gyhoeddwyd yn Rhydychen yn 1809.

*Gram.* G. R., *Dosparth Byrr ar y rhann gyntaf i ramadeg cymraeg*, gan Dr. Gruffudd Roberts. Argraffwyd ef gyntaf ym Milan yn 1567, a thrachefn yng Nghaerfyrddin yn 1858, ac fel attodiad i'r *Revue Celtique* o 1870 hyd 1883. Y mae'r argraffiad olaf linell am linell fel y cyntaf, ac o hwnnw y dyfynnir.

*Gram.* J. D. R., Gramadeg Dr. John Dafydd Rhys, a argraffwyd yn Llundain yn 1592, dan y teitl, *Cambrobrytannicæ Cymraecæve Linguæ Institutiones et Rudimenta*, &c.

Gwydd., Gwyddeleg.

h.y., hynny yw.

Lloyd's *Dic.*, *Lloyd's Encyclopædic Dictionary*, wyth gyfrol, Llundain, 1895.

Loth, *Les Mots Latins dans les Langues Brittoniques* (y geiriau Lladin yn yr ieithoedd Brythonig.) Paris, 1892.

ll., llinell.

Llad., Lladin.

Llad. Is., Lladin Isel.

Llyd., Llydaweg.

*Mab.*, Y Mabinogion. Dyfynnir o argraffiad y Proff. Rhys a Mr. Gwenogfryn Evans. *The Text of the Mabinogion and other Welsh Tales from the Red Book of Hergest.* Oxford, 1887.

Mar., Marwnad.

M.E., *Middle English*, Saesneg y canol oesoedd.

*Myv.*, *Myf.*, y Myfyrian. *The Myfyrian Archaiology of Wales*, tair cyfrol, 1801-1807. Cyhoeddwyd ail arg. yn un gyfrol gan Mr. Gee yn 1870.

R.B.S., *Rheol Buchedd Sanctaidd* . . . Gan *Jer. Taylor*, *D.D.* Cyfieithiad Elis Wyn. Llundain, 1701.

Richards, Geiriadur Thomas Richards, sef *Antiquæ Linguæ Britannicæ Thesaurus; A Welsh and*

*English Dictionary.* Bristol, 1753, 1759; Trefriw, 1815; Dolgellau, 1815; Merthyr Tydfil, 1838.

Saes., Saesneg.

Saes. Can., Saesneg y canol oesoedd.

Skeat, *An Etymological Dictionary of the English Language*, Oxford, 1884. Hefyd *A Concise Etym. Dic. of the Eng. Lang.*, a gyhoeddwyd mewn llawer o argraffiadau o wasg Rhydychen. Yn niwedd y geiriaduron hyn ceir rhestr o wreiddiau Ariaidd.

Swed., Swedaeg.

td., tudalen.

Walters, Geiriadur Walters, sef *An English-Welsh Dictionary, wherein not only the Words, but also the Idioms and Phraseology, &c.* Llundain, 1794; Dolgellau, 1815; Dinbych, 1828.

---

Jarvis & Foster, Argraffwyr, Lorne House, Bangor

